# YR EMMANUEL;

—SEF—

## HANES BYWYD A MARWOLAETH

EIN

## HARGLWYDD IESU GRIST.

GAN YR ANRHYD. T. L. HUGHES,
OAK HILL, OHIO.

UTICA, N. Y.
T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, 131 GENESEE ST.
1882.

# RHAGLITH.

Amcan yr awdwr, yn y gyfrol syml hon, ydyw estyn cymaint o gymorth ag a all i athrawon a deiliaid yr ysgol Sabbothol i ddeall a phrisio hanes yr Arglwydd Iesu Grist, fel y mae yn y Pedair Efengyl; a bydd a wnelo gymaint â serch y darllenydd ag â'i ddeall.

Ymddangosodd y gwaith ar y cyntaf yn y ffurf o erthyglau arweiniol ar Hanes Teithiau a Bywyd yr Arglwydd Iesu, yn y *Cyfaill o'r Hen Wlad*, pan dan olygiad y diweddar Barch. William Rowlands, D. D. Troisant allan yn ddarllenadwy a derbyniol gan y cyhoedd y pryd hwnw, a derbyniodd yr awdwr ar y pryd, ac wedi hyny, luaws mawr o gymelliadau i'w gyhoeddi yn llyfr. Rhoddodd hyn yni newydd ynddo i ymgymeryd â helaethu a gwella y gwaith, a threuliodd flynyddau lawer o nosweithiau i ddarllen, chwilio, ac ysgrifenu ar y mater, yr hwn a gynyddai yn barhaus yn ei ddyddordeb a'i hyfrydwch iddo. Gwnaed hyn oll wrth oleu canwyll, heb golli cymaint a haner awr o amser gweithio at y gorchwyl. Bwriad cyntefig yr awdwr ydoedd, os byth y caniatâi amgylchiadau, gael cant o gopïau o'i lyfr wedi eu hargraffu, i'w cyflwyno i'w geraint a'i gyfeillion, i fod er cof am dano, ac i ateb yn lle bedd-faen ar ol ei ymadawiad, heb gynyg cymaint ag un ar werth, gan na

feddai nac amser na dymuniad i fasnachu yn ei waith ei hun. Ar yr un pryd, boddlonai i ryw frawd anturiaethus a ddewisai, gyhoeddi y nifer a fynai ar ei anturiaeth ei hun. Ar y telerau hyn yr ymgymerodd y Parch. T. R. Jones ddod a'r argraffiad hwn allan. Gan hyderu y profa yn fendith i laweroedd, y terfyna,

YR AWDWR.

OAK HILL, O., 1882.

# CYNWYSIAD.

---

PENNOD IX.



PENNOD X.



PENNOD XI.



PENNOD XII.



PENNOD XIII.



PENNOD XIV.



PENNOD XV.



PENNOD XVI.



PENNOD XVII.

PENNOD XVIII.



PENNOD XIX.



PENNOD XX.



PENNOD XXI.



PENNOD XXII.



PENNOD XXIII.



PENNOD XXIV.



PENNOD XXV.

# YR EMMANUEL.

## PENNOD I.

### ARWEINIOL.

Ar ol hanes creadigaeth a chwymp dyn, y peth pwysicaf o bobpeth arall ydyw, hanes ymgnawdoliad Mab Duw i fod yn waredwr iddo. Rhoddodd yr Arglwydd Dduw amnaid, yn ebrwydd ar ol y cwymp, o'i fwriad grasol tuag at ddyn. Awgrymiad aneglur ydoedd ar y cyntaf, yn cael ei gynwys yn y ddedfryd a gyhoeddodd efe ar y sarff, am ei dwyllo, y byddai i hâd y wraig ysigo pen y sarff. Ond yr oedd cymaint a hyn o enau Duw y Gwirionedd, yn rhoddi sail i obeithio; oblegid ni chawsid cymaint a hyny, oni buasai fod y Meddwl anfeidrol yn llawn bwriad grasol tuag at y troseddwr. Rhoddwyd ar ddeall i'r dyn wedi hyny, fod Duw yn caru y byd, yn bwriadu ac yn parotoi i anfon ei unig-anedig Fab i fod yn waredwr iddo, ac na chollid pwy bynag a gredai ynddo ef. Nid yr adeg briodol i roddi addewidion mawrion, cysurlawn i droseddwr, ydyw yn ebrwydd ar ol cyflawniad y trosedd. Gwnai hyny ei bechod o ychydig bwys yn ei olwg; ac er lleshad y troseddwr ei hunan yn y diwedd, rhaid ei ddwyn i deimlo anfadrwydd ei drosedd. Angenrhaid oedd i Dduw guddio ei wyneb, atal ei gymdeithas, a churo ag aml ffonod i ddwyn y pechadur i deimlo i'r byw echryslonrwydd ei ymddygiad,

ac yna rhoddi addewid aneglur nad oedd efe yn bwriadu ei fwrw ymaith yn llwyr, er cymaint ei ddrygioni; rhoddi sail i'r elfen afaelgar hono sydd yn ei natur, sef gobaith, i gymeryd gafael am fywyd.

Gwedd ddigofus oedd ar holl drafodaeth Duw tuag at ddyn o dan yr hen oruchwyliaeth—barnedigaethau trymion yn cael eu tywallt yn awr ac eilwaith, boddi byd o ddynion ond un teulu bychan ; llosgi dinasoedd y gwastadedd a'u preswylwyr; lladd cyntaf-anedigion yr Aifft, a boddi eu tadau yn y Mor Coch ; ymddangos ar ben Sinai yn nghanol tywyllwch, taranau a mellt. Goruchwyliaethau llymion yn taro dychryn ac arswyd yn y fynwes ddynol ydoedd eiddo Duw tuag at y byd y pryd hwnw. Mynai yr Arglwydd i ddynolryw deimlo eu bod wedi troseddu; ar yr un pryd dangosai drugaredd i filoedd oedd yn ymddiried i'w addewid, yn ei garu ac yn cadw ei orchymynion. Ar ol pedair mil o flynyddoedd o ddysgwyl, wele ddydd yr addewid am i hâd y wraig ymddangos, yn dod i ben, a'r Jehofa anfeidrol yn mherson y Mab yn ymddangos yn y cnawd. Yr oedd i'r oediad maith ar ol rhoddiad yr addewid amcan teilwng, fel y cawn sylwi yn mlaen.

Yn awr, wele Duw wedi ymgnawdoli. Wele ef yn weledig o'n blaen, yn rhodio ein daear, yn frawd i ni, yn bwyta ac yn yfed, ac yn mhob peth yn gyffelyb i'w frodyr, ond eu pechodau yn unig. Yn y pedair Efengyl, cawn yr hanes yn bur, am berson, ymgnawdoliad a gweithredoedd Mab Duw tra y bu yn ein byd, wedi ei ysgrifenu o dan arolygiad uniongyrchol yr Ysbryd Glan, ac y mae ei anrhydedd a'i eirwiredd ef ei hunan yn sefyll yn dda i ni am bob gair sydd yn yr hanes sanctaidd. Y mae holl air Duw felly; ond

am y pedair Efengyl yr ydym yn son yn awr, a hwy hefyd ydyw y rhan werthfawrocaf i ni bechaduriaid. Yr oedd gan y Gwaredwr waith mawr i'w wneyd, rhwystrau a dyoddefiadau lawer i fyned trwyddynt, wedi dyfod i'r byd. Yr oedd wedi ymrwymo mewn cyfamod sicr i'w Dad y byddai iddo uniawni pob cam a wnaethai dyn, a thalu pob dyled yr oedd wedi myned iddi; ac erbyn ei ymddangosiad yr oedd camwedd a dyled dyn wedi myned yn fawr iawn, oblegid yn lle aros yn y man y syrthiodd, i ddysgwyl am gael ei godi i'r lan, yr oedd wedi myned yn mhellach oddiwrth Dduw, ac yn ddyfnach mewn trueni y naill oes ar ol y llall, nes myned yn gwbl farw i bob daioni. Felly yr oedd yn rhaid i'w Waredwr roddi bywyd newydd ynddo, heblaw dyoddef drosto. Yr oedd Mab Duw wedi rhagweled a rhagbarotoi ar gyfer y cwbl cyn dechreu ar ei waith. Yr oedd yn Dduw, yn ffynonell bywyd i roddi anadl ac yni yn y marw ysbrydol. Yr oedd yn ddyn, i fyw a marw drosto. Yr oedd yn hollalluog, fel nad allai dim ei atal i fyned yn mlaen gyda'i waith, a'i gariad at ddyn yn anfeidrol, fel na byddai perygl iddo ddiflasu nac edifarhau cyn gorphen ei waith. Cwblhaodd ei waith i'r fath foddlonrwydd fel yr oedd pawb, Duw a dyn, yn gwaeddi digon. Yr oedd golwg alarus ar ein byd ni pan y disgynodd Mab Duw o'r nef i'w waredu. Er fod dyn yn farw i bob daioni, eto yr oedd yn teimlo yn euog a thruenus, a than y teimlad llosgedig hwn yn galw ar bobpeth bron o'i amgylch i ddod i'w waredu. Cawn ef yn addoli ac yn plygu ger bron gwrthrychau llawer is nag ef ei hun, gan obeithio a dysgwyl wrth y rhai hyny am help. Troai oddiwrth y naill wrthrych at y llall yn

barhaus, gan erfyn am ymwared, ac erbyn yr oes a ragflaenai ddyfodiad y Messiah, gan nad oedd neb yn ateb, yr oedd yn dechreu diflasu ar y gau-dduwiau, a'r gau-grefyddau i raddau mawr wedi colli eu gafael ar galonau dynion.

Gwelsid amser pan yr oedd y bywiogrwydd mwyaf o amgylch temlau yr eilunod; plygai rhai gyda defosiwn gwresog o flaen llu y nef, a gwelid eraill yn ymgrymu mewn addoliad o flaen tânau sanctaidd; ond yn awr, yr oedd hyn wedi myned heibio, yr allorau wedi syrthio, y temlau wedi eu cau a'r tânau wedi diffodd. Nid adferiad na gwelliant oedd hyn yn y ddynoliaeth; llygredigaeth y galon oedd yn tori sianel newydd i lifeirio allan; eilun-addoliaeth yn cael ei ddylyn gan ddidduwiaeth hollol bron, yn y byd paganaidd.

Nid rhyw lawer gwell, ychwaith, ydoedd gwedd pethau yn mysg y genedl Iuddewig, seremoniau yr hon oeddynt wedi bod yn foddion hyfryd o ras am oesau yn eu mysg, ac wedi treiddio yn ddwfn i galon y genedl; ond yn awr yr oeddynt wedi myned yn oer a difywyd, y Shecinah wedi ymadael o'r deml, yr oraclau dwyfol wedi dystewi yn eu plith, ac ysbryd proffwydoliaeth wedi pallu o fysg y genedl ddewisedig. Nid oedd mwyach weledydd na gweledigaeth i'w cael. Nid oedd un Deborah yn barnu o dan balmwydden, rhwng Bethel a Rama, nac un Ezeciel i daranu barnau Duw yn erbyn annuwioldeb y genedl a chaledrwydd yr oes, oddi rhwng y deml a'r allor. Yr oedd y ddeddf, mae'n wir, yn aros, ond yr oedd yn llythyren farw i'r lluaws; ac yr oedd atheistiaeth a mympwyon paganaidd yn prysur oresgyn y tir sanctaidd ei hunan. Gwelsid amser pan oedd y genedl sanctaidd

yn tynu sylw y byd, a lluoedd yn dod o eithafoedd y ddaear i glywed doethineb ac addysg grefyddol un o'i breninoedd. Esgynodd y genedl yn raddol i uchder mawr, a disgynodd drachefn trwy ei throseddau yn isel iawn.

Yr oedd amcan yn ddiau i hyn ; gadawyd iddi dywyllu i'r eithaf o amgylch ogylch cyn i Haul cyfiawnder ymddangos, fel y byddai iddo dynu sylw y byd ar ei godiad. Ar y cyfan yr oedd y ddynoliaeth, yn ol pob ymddangosiad, bron ar ddarfod am dani mewn ystyr ysbrydol; yr eglwys fel wedi ei gadael gan y nefoedd, yn gyffelyb i lestr egwan yn nghanol môr tymestlog, bron a chael ei llyncu gan y tonau. Ond eto yr oedd ychydig nifer yma ac acw, o amgylch y deml yn Jerusalem, yn y cymoedd ac ar hyd bryniau Judea, yn eistedd yn syn a myfyriol uwchben y proffwydoliaethau oedd wedi myned o'r blaen, yn dal gafael yn yr addewidion am y Messiah, ac yn dysgwyl yn bryderus am iddo wneyd ei ymddangosiad yn y byd. Yr oedd hefyd ryw ddysgwyliad, lled ddiffurf mae'n wir, a dychymygol i raddau, wedi cael ei gario megys gan yr awelon, i fysg y rhan fwyaf o genedloedd y ddaear, fod rhyw un mawr i wneyd ei ymddangosiad tua'r amser hwn yn ngwlad Canaan; rhyw faeslywydd enwog, megys Dafydd, buddugoliaethwr na buasai ei debyg yn y byd o'r blaen, a dysgwylient y byddai ei lywodraeth o fantais a budd mawr i'r byd yn gyffredinol.

Ar yr adeg hon y mae Mab Duw yn cael ei eni i'r byd mewn tref fechan anenwog yn Judea, yn oriau dystaw y nos, o rieni anamlwg, mewn cyflwr isel a thlawd, heb un arwydd o enwogrwydd na mawredd

daearol. Ie, cuddiad, yn hytrach nag arddangosiad o fawredd a gallu, oedd ymgnawdoliad Mab Duw. Cariad, yn hytrach na nerth, oedd wedi gwisgo natur dyn, a thrwy hyn dangoswyd mai cariad oedd y brif briodoledd yn y Duwdod mawr, yr hyn oedd yn syniad newydd hollol i'r byd. Hefyd mae fod y Messiah i gael ei eni o forwyn heb adnabod gwr, yn arddangos anfeidrol ddoethineb Duw yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Syniad ydyw na wna y deall nemawr o hono; mae yn rhy uchel; ond gafaela y galon a'r serchiadau yn awyddus ynddo. Cedwid ef felly yn eglur wahanedig oddiwrth y natur ddynol lygredig ac yn gwbl rydd oddiwrth surni pechod, eto yn ddyn cyffelyb i'w frodyr. Mae yma ddirgelwch i bob meddwl ond meddwl mawr y Duwdod ei hunan. Nid am fod yr Anfeidrol yn ei guddio y mae yn ddirgelwch. Y mae efe wedi ei ddatguddio yn yr efengyl, ac y mae croesaw calon i ddynion ac angylion i chwilio i mewn iddo. Yr achos ei fod yn ddirgelwch ydyw, fod y syniad yn rhy fawr i feddwl crëedig ei gynwys. Mae yr hyn a ddeallir am dano yn peri at-dyniad cryf yn mhob meddwl pur tuag ato. Cawn dreulio tragwyddoldeb i dreiddio i ddirgelwch duwioldeb, a bydd genym fwy o holiadau eisiau eu hateb yn mhen oesau dirif, nag sydd yn awr; chwyddo a wna y dirgelwch o dan ein dwylaw byth. Yr oedd prydferthwch rhyfeddol yn yr olygfa yn yr ystabl yn Bethlehem. Mam ieuanc, garuaidd, a baban tlws ar ei mynwes, ac ar yr un pryd yn forwyn bur a dihalog. Cipiai y bardd y drychfeddwl hwn, a dywedai dan synu:

"Blended and reconciled
Of mother's love and maiden purity."

Mae y meddwl anianol yn edrych ar y Duwdod yn gwisgo ffurf maban gyda difaterwch digred; ond cenfydd amgyffred ysbrydol wedi ei oleuo gan yr Ysbryd Glan, fwy o ardderchogrwydd yn y deml fechan hon nag yn yr holl fydysawd eang yn ei hyd a'i lled, os oes hyd a lled iddo hefyd. Yn awr dyma y Duwdod ei hunan wedi dod yn wrthrych hanesyddiaeth, yr hyn nid ydoedd yn briodol o'r blaen, ac y mae hanes pawb arall yn llwydo ac yn gwelwi pan y dygir ei hanes ef o flaen y meddwl. Yn ngolwg y byd nid oedd genedigaeth Iesu Grist ond amgylchiad dibwys, eithr dyma yr unig amgylchiad y bydd dyddordeb ynddo yn y byd tragwyddol. Yn mhen oesoedd dirif, bydd hanes genedigaeth, bywyd, a marwolaeth Iesu, yn hanes newydd rhyfedd. Bydd yn gwbl anmhosibl iddo heneiddio na myned yn ddiflas byth. Ni raid i ni ymdrafferthu gyda'r syniad o'r anmhosiblrwydd na'r anhawsder i Dduw ymddangos yn y cnawd. Os cyfaddefwn y bôd o Dduw, mae y syniad arall, y gall Duw wneuthur fel y myno, yn dylyn yn naturiol.

Wedi pedair mil o flynyddoedd o ddysgwyl, dyma ddymuniad yr holl genedloedd wedi ymddangos. Ai yn frenin holl freninoedd y ddaear? Nage, ond mewn agwedd gwas. Yr oedd yn rhaid iddo ddyfod yn wahanol i bawb eraill a ddaethai i'r byd o'i flaen nac a ddaw ar ei ol byth. Yr oedd y proffwydoliaethau oeddynt wedi rhedeg am dano, yn nghyd a'r seremoniau costus a osodid i fyny i'w gyflwyno i'r byd, yn awr yn cau eu pyrth byth ar ei ol, gan nad oedd neb teilwng i ddod trwyddynt mwyach. Hynodid y proffwydoliaethau am y Messiah gan y wedd ddeublyg oedd yn hynodi ei fywyd ef, megys "Dirmygedig oedd a diys-

tyraf o'r gwyr," eto, "Dymuniad yr holl genedloedd;" "Heb bryd na thegwch ynddo," eto, "Oll yn hawddgar, yn rhagori ar ddeng mil;" "Mab a anwyd i ni," eto, "Y Duw cadarn, Tad tragywyddoldeb;" "Bachgen," eto, yr "Hen ddihenydd." Ni bu neb erioed, ac ni ddaw neb yn cyfateb i ymadroddion o'r fath hyn ond Iesu Grist. Wrth geisio edrych yn nrych y proffwydoliaethau am y Messiah, gallwn ganfod gwedd ddynol; mae y gwynebpryd megys yn ddyeithr i ni, eto yn edrych yn gyfeillgar iawn; ryw fodd yn dra aneglur, ar yr un pryd yn ganfyddadwy tu hwnt i amheuaeth; yn agos atom, dybygem, eto mor bell a'r Duw anweledig. Teimlwn wrth geisio dylyn llinell y broffwydoliaeth trwy yr Hen Destament fod yno ddyn yn sefyll o'n blaen, ac ar yr un pryd fod y dyn yn ddelw berffaith o'r Duw anfeidrol. Mae yma atdyniad dyeithr sydd yn sugno meddwl y darllenydd nes dod o gam i gam trwy y proffwydoliaethau at y Seren, y Forwyn, a'r Baban, yn Bethlehem Judea. Y baban oedd dirgelwch yr holl ddarluniad, yr holl addewidion a'r cysgodau; yn y baban mae yr holl ddirgelwch yn cael ei egluro, ac yn y diwedd mae yr eglurhâd ei hunan yn ddirgelwch anfeidrol.

Wrth graffu ar y syniad Ysgrythyrol am drindod o bersonau yn y Duwdod, a gwregysu lwynau y meddwl i geisio cyrhaeddyd drychfeddwl cywir mor bell ag y gallwn wneyd hyny, yr ydym yn canfod yn y datguddiad, nid yn unig fod perthynas yn cael ei ddangos, ond hefyd weithrediad o eiddo y naill berson tuag at y llall. Y Tad yn caru y Mab, ac yn cael ei garu gan y Mab. "Duw, cariad yw," medd Ioan; nid o herwydd y dygwyddiad o fod iddo greaduriaid i'w caru,

ond yn hytrach mae yn tarddu o angenrheidrwydd natur Duw. Cariad ydyw ei ddull naturiol o fôd cyn bod un creadur. Duw cariad oedd ac yw. Ein syniad ydyw fod cariad yn weithgar ynddo ef erioed. Yr oedd nid yn unig yn gymwys i garu, ond yn caru; nid fel y syniad o dân yn y gallestr, eithr yn hytrach fel y fflam loew ddysglaer. Y mae felly yn rhinwedd y berthynas sydd rhwng y personau dwyfol â'u gilydd, ac yn fwyaf amlwg i ni rhwng y Tad a'r Mab. O dragywyddoldeb yr oedd y Mab yn mynwes y Tad, a'r boddineb annhraethadwy hwnw oedd rhwng y Tad a'r Mab yn yr Ysbryd Glan ydyw gweithrediadau y cariad hwn. Fel hyn, nid hunan-serch ydyw cariad yn Nuw, oblegid mae y Tad a'r Mab a'r Ysbryd Glan yn un yn caru eu gilydd. Mae y Tad yn caru y Mab, a'r Ysbryd Glan yn gogoneddu y Mab. A'r hyn yr oeddym yn ceisio gwneyd ein ffordd ato, ydyw y rhyfeddod (O, nad allem gael gair mwy grymus) i'r Tad ganiatau i'r Mab adael ei fynwes am foment i ddod i'r byd, chwaethach dod yma i ddyoddef a marw dros bechaduriaid.

"Ond gwir yw y gair ddyfod Iesu Grist i'r byd." Wele ef wedi dyfod, wedi ei eni o wraig; ei ddynoliaeth wedi ei huno â Mab Duw yn un person, ac y mae yn ymddangos i ni fod y ddynoliaeth yn yr Iesu mor wirioneddol yn Fab Duw, yn yr un ystyr ac yn yr un cyflawnder bendigedig ag yr oedd efe yn Fab er tragywyddoldeb. Yr un olwg arno, yr un teimlad tuag ato, sydd gan y Tad pan yn y preseb, ac wedi hyny yn Gethsemane, ac ar y groes, ag ydoedd pan yn pwyso ar ei fynwes yn y tragywyddoldeb pell. Dylynwn ef gan ei addoli ar hyd y llwybr a gerddodd o

Bethlehem i Galfaria. Canfyddwn ef yn gwneuthur gweithredoedd, clywn ef yn llefaru geiriau ag ydynt tu hwnt i amheuaeth yn profi ei fod yn Dduw; ar yr un pryd mae ei ddagrau a'i ocheneidiau yn dangos yr un mor ddiddadl ei fod yn ddyn. Ceir arddangosiadau o'i allu a'i ogoniant nad allwn betruso eu priodoli i'w natur ddwyfol, ac hefyd arwyddion o wendid, a gofid, a blinder, ag na phetruswn eu priodoli i'w natur ddynol. Eto wrth wahaniaethu ei ddwy natur, gofalwn rhag rhanu ei berson. Nid ydym yn meddwl fod gwendidau dibechod yr Arglwydd Iesu yn tarddu oddiar ei fod wedi cyfranogi o natur wedi ei gwanhau a'i nychu trwy bechod, er ei fod ef ei hun yn ddibechod. O'i ran ei hun yr ydym yn credu y buasai dynoliaeth yr Iesu yn hoew, siriol, a chysurus. Y Fachnïaeth oedd yn gwasgu yr ocheneidiau o'i fynwes; dyled dyn oedd yn ei lethu, ac yn ei wneyd yn wr gofidus a chynefin â dolur. Dywedir ei fod yn cynyddu mewn ffafr gyda Duw a dynion. Gallem feddwl oddiwrth yr ymadrodd hynod hwn, fod yr Arglwydd Iesu o'i faboed i fyny hyd ei ymddangosiad cyhoeddus a'i gysegriad uniongyrchol i'w swydd trwy fedydd, yn gyffelyb i ddyn ieuanc arall, yn cynyddu mewn corff a meddwl, yn ddedwydd o herwydd ei fod yn sanctaidd, yn rhydd i raddau oddiwrth ymdeimlad â'r tywydd garw oedd yn ei aros fel Gwaredwr pechaduriaid. Pe buasai gwasgfa fawr Gethsemane a Chalfaria, a chuddiadau wyneb anwyl ei Dad yn presenoli eu hunain yn ddibaid o flaen ei feddwl ieuanc, fel yr oeddynt yn amser ei weinidogaeth gyhoeddus, oni fuasent yn ysu ei natur i fyny, ac yn ei atal i gydymdeimlo a chymdeithasu â dynion yn eu holl wahanol amgylchiadau?

Onid ydoedd yr Iesu i raddau mawr fel gwr ieuanc hawddgar yn cymdeithasu yn rhydd â'i gymydogion? Gallwn roddi lle i'r syniad hwn heb dynu dim oddiwrtho fel Duw-ddyn; ond cawn son eto am hyn.

Ein hamcan yn ein cyfrol fechan fydd rhoddi hanes bywyd, geiriau, a gweithredoedd ein Harglwydd Iesu Grist, wedi ei gasglu o'r pedair Efengyl, gan hoff hyderu arwain y darllenydd i fwy o gydnabyddiaeth bersonol âg ef. Yn yr hanes, y mae efe ei hun yn bersonol i'w weled; mae yn cael ei ddal o'n blaen megys mewn drych, yn araf-gerdded yn nghanol ei gyfeillion ar hyd y llwybrau a'r ffyrdd a arweinient trwy gymoedd d·fnion a thros fryniau serth Palestina, a'r miloedd pobl yn gwau trwy eu gilydd yn mhob cyfeiriad, rhai yn myned ac eraill yn dyfod yn ddidor, ac yntau yn defnyddio pob cyfleusdra i'w dysgu a'u hyfforddi, iachau eu cleifion, agor llygaid eu deillion, a rhoddi bywyd i'w meirw. Gallwn yn y pedair Efengyl glywed ei ymadroddion cyfrinachol wrth ei ychydig gyfeillion mynwesol, a'i bregethau rhyfedd i'r torfeydd. Gallwn glywed ei bregeth ar y mynydd gerllaw Môr Tiberias, mor eglur a phe buasem ar ael y bryn o fewn pum' llath i'r fan yr eisteddai pan yn ei thraddodi. Efe ei hun sydd yma, ac nid rhyw un o'i weision; ac er ei fod yn Fab Duw y mae mor hawddgar a gostyngedig, fel y gall y diddysg, gwan, yswil, gymdeithasu yn hyfryd ag ef. Nid rhyw esgob uchelfrydig, disylw o bawb ond o fawrion byd, ydyw ein Iesu ni; nage, Iesu Grist cyfaill pechadur pryderus am iachawdwriaeth. Mae yn hawdd adnabod wrth ei wedd a'i lais nad oes dim yn gas ynddo. Dwg y pedair Efengyl yr Iesu mor wirioneddol bresenol i ni a phe buasem

wedi ei ddylyn gymaint ag y dylynodd Petr, Iago ac Ioan ef. Mae yr un rhin yn ei eiriau yn llaw yr Ysbryd Glan ag oedd ynddynt pan yn dyferu dros ei wefusau sanctaidd. Yn wir maent yn fwy felly, oblegid ei orchwyl mawr ef ydoedd gweithredu iachawdwriaeth, ond gwaith yr Ysbryd Glan ydyw ei chymwyso.

Mantais fawr iawn, yn ddiau, i ni ydyw fod pedwar o wyr cymwys, ac nid un, wedi ymgymeryd a'r gorchwyl o ysgrifenu hanes bywyd yr Arglwydd Iesu Grist. Yr oedd pob un o honynt yn alluog, a phob mantais ganddynt i wybod am y gwrthrych mawr yr ysgrifenent ei hanes. Diau fod gwahaniaeth yn ansawdd eu meddyliau hwy ag oedd yn dylanwadu ar ddull eu hysgrifau, er cyfateb i'r gwahaniaeth yn ansawdd meddyliau y darllenwyr; pob un o honynt yn rhoddi hanes yr Iesu fel yr oeddynt hwy yn deall ac yn meddwl am dano. Edrychai un ar ei fawredd o un sefyllfa, a'r llall o sefyllfa arall, y trydydd a'r pedwerydd yr un modd, a phob un o'r pedwar yn ysgrifenu yn annibynol, fel y synient hwy am dano.

Nid ydym fel hyn yn caniatau am foment fod eu hysgrifau yn llai dwyfol, o herwydd fod argraff Matthew ar ei Efengyl ef, a'r eiddo Ioan ar ei Efengyl yntau, ond ystyriwn fod yr Ysbryd Glan yn caniatau lledred i feddyliau yr ysgrifenwyr i weithredu yn naturiol. Llaw dyn oedd y llaw, ond llais Duw ydyw y llais yn y pedair Efengyl. Iuddew trwyadl ydoedd Matthew, wedi ei alw yn ddysgybl gan yr Iesu. Os oedd ef unwaith wedi troi yn bublican, yn swyddog Rhufeinaidd, er mwyn bywoliaeth esmwyth, i'w gydgenedl yr oedd efe yn ysgrifenu er hyny. Mab Abra-

ham, mab Dafydd, gweinidog yr enwaediad oedd ei feistr yn ei olwg ef, a chawn luaws o grybwylliadau byrion am y ddinas sanctaidd a Bethlehem, dinas Dafydd, yn ol ffurf y meddwl Iuddewig o siarad am danynt. Y mae hyn yn fantais fawr i ni er uno yn ein meddwl yr hen Ysgrythyrau Iuddewig a'r Testament Newydd â'u gilydd. Yr oedd Marc, nai Barnabas (mab ei chwaer, efallai, er fod hyn yn bur ansicr, a'r un, fel y tybia llawer a'r gwr ieuanc oedd allan yn y wisg lian y nos y bradychwyd yr Arglwydd Iesu), yn meddwl yn fawr o'r Iesu, a hoffa adrodd am ei weithredoedd nerthol gyda bywiogrwydd a llawer o fanylrwydd. Tafla deimlad ei galon i'r stori, fel y gallwn weled yr Iesu yn fyw o'n blaen yn ei ddarluniad perffaith o hono. Gallwn feddwl hefyd fod llawer o Simon mab Jona yn dod i'r golwg yn yr Efengyl hon, ac mae yn lled sicr fod Petr yn ei helpu i gyfansoddi yr hanes. Gan nad oedd Marc yn un o'r deuddeg oedd yn dylyn yr Iesu ar ei deithiau, digon tebyg fod un wrth ei benelin pan yn ysgrifenu ag oedd wedi ei ddylyn, oblegid cawn ddarluniad o wedd wyneb yr Arglwydd Iesu ar amgylchiad neillduol. Dywed ei fod yn edrych o'i amgylch yn ddigllawn ar ei wrandawyr celyd. Yr oedd Marc yn hoff o sefyll uwchben gwyrthiau yr Iesu, ac adroddai am danynt gyda hyfrydwch mawr, mae yn eglur.

Saif Luc drachefn ar safle wahanol i'w ddau ragflaenydd. Cenedl-ddyn oedd Luc, mae'n debyg, ond cenedl-ddyn anwyl iawn, a dylynodd lawer ar yr Apostol Paul yn ei deithiau a'i helyntion, ac efe a ysgrifenodd hanes Paul fel y mae genym yn llyfr yr Actau. Cyfaill mawr pechadur ar ddarfod am dano

sydd gan Luc yn ei ddarluniad, a gofala ef wrth roddi ei achau am eu rhedeg i fyny yn mhellach nag Abraham, at Adda, tad pob dyn byw. Mae Iesu Grist ganddo ef yn oleuni i oleuo y cenedloedd, yr hyn ni sonia Matthew am dano o gwbl. Medda Luc ryw fedr digyffelyb i ddangos y gras oedd yn yr Iesu, trwy roddi byr hanesion am dano, megys hanes y bechadures fawr hono y maddeuwyd y cwbl iddi, Zaccheus y publican, y pechadur yn sefyll o hirbell gan guro ei ddwyfron, a'r llawenydd yn y nef am un pechadur yn edifarhau. Yr oedd Daniel yn wr anwyl, y mae Luc y physygwr yn llawn cymaint felly; teimlwn yn dda iawn tuag ato, er nad oedd ond ysgrifenydd yn llaw yr Ysbryd Glan i drosglwyddo yr hanes i ni.

Ond y mae genym un hanesydd eto, a'r rhyfeddaf o honynt oll ar lawer ystyr, sef Ioan. El Ioan yn mhellach yn ol na'r tri eraill, draw i'r tragywyddoldeb diddechreu, ac yno y mae yn cael yr hwn a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni, yn preswylio yn mynwes ei Dad. Mae yr Efengylau eraill yn werthfawr uwchlaw pob pris, ac nid yn unig yn werthfawr, ond yn anwyl iawn hefyd, yn at-dynu yr holl ddyn atynt, eithr er hyny ä Ioan tu hwnt iddynt oll. Saif ef megys ar un o fryniau y byd tragywyddol mewn goleu clir ac awyr iach, lle y mae yn gallu canfod y ddau fyd. Y wedd ddynol ar yr Iesu mawr sydd gan y tri eraill yn benaf, tra mai y wedd ddwyfol sydd gan Ioan yn brif destyn ei Efengyl; nid mawredd ei weithredoedd ond mawredd ei berson sydd flaenaf o flaen ei olwg ef. Nid yw ei weithredoedd mawrion ond pethau naturiol i'w berson, gan Ioan. Yr un amcan oedd gan y pedwar Efengylwr, a than arweiniad an-

ffaeledig yr un Ysbryd yr ysgrifenasant; ond ymddengys ei fod wedi estyn cyneddfau enaid Ioan, wedi eangu ei ddirnadaeth yn mhell uwchlaw yr holl ysgrifenwyr sanctaidd eraill. Byddai ar yr eglwys eisiau y fath ysgrif fel y cai "ddwfr i nofio heb fyned trwyddo" byth, ac mor hyfryd ydyw rhodio ar lanau y dyfroedd gloewon, iach hyn. Nid ein hamcan ydyw ceisio rhoddi cysondeb o'r pedair Efengyl, gan ffurfio un hanes cyflawn o'r oll, eithr cadwn olwg ar hyn hyd y gallom. Y mae ugeiniau lawer wedi ymgymeryd â'r gorchwyl anhawdd hwn er boreuddydd Cristionogaeth, a hyny gyda mwy neu lai o lwyddiant. Nid ydyw hyn yn ein cynllun ni, a chyfaddefwn yn rhwydd nad ydyw yn ein gallu ychwaith. Y mae ateb gwrthddadleuon a dystewi amheuwyr digred yn werthfawr iawn yn ei le priodol, eithr ein nôd ni fydd dylyn yr Iesu yn ei deithiau, edrych ar ei weithredoedd y rhai ydynt lawn mor rasol ag ydynt nerthol, a gwrando ei ymadroddion rhyfeddol; a gwahoddwn yn daer ac yn dirion y dosbarth ieuanc o ddarllenwyr yn benaf i ddod gyda ni ar hyd y rhodfeydd prydferth hyn.

## PENNOD II.

*Yr arwyddion cyntaf am ymddangosiad uniongyrchol y Messiah—Gabriel yn ymddangos i Zecharias, ac wedi hyny i Mair Forwyn.*

Yn Efengyl Luc y cawn hanes yr arwyddion cyntaf o ymddangosiad uniongyrchol y Messiah, sef ymddangosiad Gabriel, un o brif angylion y nef, i Zecharias yr offeiriad, yn y deml yn Jerusalem, i ragfynegi genedigaeth Ioan Fedyddiwr, yr hwn oedd i fod yn rhagflaenor i'r Messiah, a phan ddelai yr amser priodol ydoedd i'w gyflwyno i'w gyd-genedl, ac i barotoi eu meddwl i wneyd derbyniad o hono. Fel y mae yn hysbys i'r darllenydd, yr oedd Dafydd frenin wedi rhanu yr offeiriaid yn bedwar-dosbarth-ar-hugain, un o'r rhai a elwid yn ddosbarth Abiah, ac er fod y teulu hwn wedi ei golli yn nghaethiwed Babilon, eto ar adferiad y genedl yn ol i'w gwlad rhanwyd yr ychydig offeiriaid oedd i'w cael yn bedwar-ar-hugain o ddosbarthiadau fel o'r blaen, a galwyd hwy ar yr un enwau. Felly dwy wythnos oedd yn mhob dyddgylch o wasanaeth yn y deml fel cynt. Cyfrifid rhai rhanau o'r gwasanaeth yn fwy anrhydeddus na'r lleill, ac er gochelyd ymrafaelion, penderfynid gwaith pob offeiriad trwy goelbren, a'r gorchwyl a ddisgynodd i Zecharias y tro hwn ydoedd arogl-darthu, y rhan fwyaf anrhydeddus o holl wasanaeth y cysegr. Arogl-darthid ddwywaith yn y dydd, sef am naw a thri o'r gloch, ac ymadawai yr offeiriaid eraill a'r Lefiaid o'r porth ac o'r llanerch rhwng y deml ac allor y poeth-offrwm ar awr yr arogl-darth, fel na byddai neb yn agos pan byddai yr offeiriad yn llosgi

yr arogl-darth ar yr allor aur. Safai y bobl, yr addolwyr, yn y gwahanol gynteddau i weddio. Gweddiau dystaw hollol oedd y rhai'n, mae'n debyg, fel y rhoddir amnaid yn nameg y Pharisead a'r Publican. Tebygol hefyd mai cyfeiriad at y dystawrwydd hwn sydd yn Dat. viii. 1—3, "A bu gosteg yn y nef megys dros haner awr." Parhâi y dystawrwydd cyhyd ag y byddai yr offeiriad yn myned trwy ei orchwyl yn y cysegr, a byddai mawr ddysgwyl am ei weled yn ail ymddangos ar risiau porth y deml, ac os byddai yn aros yn hir codai dychryn a braw yn meddyliau yr addolwyr rhag ofn fod rhyw farn oddiwrth Dduw wedi disgyn arno o herwydd eu pechodau hwy, neu ynte o herwydd ei bechodau ef ei hun; ac mae yn eglur fod y pryder hwn yn cynyddu bob mynyd y waith hon. O'r diwedd y mae Zecharias yn ymddangos, ac mae ei wedd ddyeithriol a chynhyrfus yn dangos ar unwaith fod rhywbeth rhyfedd a phwysig wedi dygwydd iddo yn y deml. Nid allai yntau ddyweyd gair wrthynt, oblegid yr oedd ei lafar wedi ei atal, eithr trwy arwydd rhoddai ar ddeall iddynt ddarfod iddo gael gweledigaeth. Yr oedd fod hyn wedi cymeryd lle yn y cysegr yn ei wisgo â mwy o ofnadwyaeth, oblegid nid oedd un o'r bobl erioed wedi cael cymaint a chip-olwg ar y tu mewn i'r lle sanctaidd, felly yr oedd y lle ei hunan yn gwisgo mawredd a dirgelwch yn eu meddyliau. Tebygol hefyd wrth amledd yr addolwyr, mai y Sabboth ydoedd. Fel hyn yr oedd yr oll yn cydweithio i wneyd yr argraff yn ddwys ar eu meddyliau fod rhywbeth mawr ar gymeryd lle.

Dichon mai ar ddiwedd y gwasanaeth y cyrhaeddodd yr angel i'r deml, oblegid buasai ei bresenoldeb yn

anghymwyso yr hen wr i fyned trwy y gwasanaeth yn briodol. Brawychodd Zecharias yn fawr pan welodd yr angel. Ni welsid angel o'r blaen er's canoedd o flynyddoedd. Yr oedd ei genadwri hefyd o'r pwys a'r dyddordeb mwyaf, sef fod yr adeg wedi dyfod i'r holl addewidion a'r cysgodau esgor ar eu cynwysiad gwerthfawr. Mae yn eglur fod Zecharias yn un o'r ychydig nifer oedd yn dysgwyl am ddyddanwch yr Israel, a phan yn arogl-darthu yr oedd yn rhan arbenig o'i orchwyl i weddio am fendithion tymorol ac ysbrydol i'r genedl, a chan ei fod yn wr duwiol, mae yn naturiol meddwl iddo anfon aml weddi daer i'r nef gyda mwg ei arogl-darth peraidd am gyflawniad o'r proffwydoliaethau am y Messiah, y fendith fawr addawedig i Israel, a thrwyddynt hwy i holl genedloedd y ddaear. Gallwn feddwl oddiwrth gyfarchiad yr angel iddo mai hyn oedd baich ei weddi, "Gwrandawyd dy weddi, a'th wraig Elizabeth a ddwg i ti fab." Nid am fab iddo ei hun y gweddiai Zecharias, oblegid yr oedd yr adeg ar ei oes ef, fel y dywedai ei hunan, wedi myned heibio; eithr am yr hâd addawedig i Abraham y gweddiai ef. Deallai yr hen offeiriad parchus mai angel Duw oedd y gwr oedd yn sefyll o'i flaen, a'i fod hefyd wedi ei awdurdodi gan Dduw y gwirionedd i draethu y genadwri oedd ganddo. Er hyny, anghofiodd ei hun gymaint fel ag i amlygu ei amheuaeth fod y fath beth yn bosibl, o herwydd ei henaint ef a'i briod. Pe buasai ddim ond cofio a meddwl, nid hon oedd y waith gyntaf i'r Arglwydd beri i wraig blanta yn ei henaint. Ganesid Isaac i Sarah pan oedd Abraham a hithau yn llawer hyn nag oedd ef ac Elizabeth yn awr; a ganwyd Samson a Samuel enwog o famau ag oedd-

ynt yn anmhlantadwy. Ac o herwydd iddo ddefnyddio ei dafod i wrth-ddywedyd geiriau Duw o enau yr angel, rhoddwyd yn gerydd ysgafn arno na byddai iddo gael ei ddefnyddio mwyach nes y gwelai y gair wedi ei gyflawni yn ngenedigaeth mab iddo. Yr oedd yr addewid mor werthfawr fel nad oedd y cerydd ond ysgafn iawn.

Mae yr amgylchiadau pwysicaf yn hanes ein byd ni yn awr yn dylyn eu gilydd yn gyflym. Yn mhen chwe' mis ar ol hyn, mae yr un angel yn cael ei anfon i Nazareth yn Galilea at forwyn ieuanc o'r enw Mair, gyda chenadwri y byddai iddi feichiogi heb adnabod gwr, ac esgor ar Fab, yr hwn a elwid yn Fab y Goruchaf. Clywsom un ffraeth yn dywedyd, pe buasai i ddau angel gael eu hanfon, un i lywodraethu teyrnas, a'r llall i ysgubo yr heol mewn pentref tlawd, y buasai gwr yr ysgubell yn llawn mor barod i'w swydd a gwr y deyrnwialen. Efallai hyny, oblegid offer a llawer o ofid yn eu dylyn ydyw teyrnwiail a choronau. Ond am Gabriel y waith hon teimlwn yn sicr na bu negesydd erioed yn fwy hoff o'i swydd, ac os oedd yn ehedeg yn fuan pan yn cario y genadwri i Daniel y proffwyd, diau ei fod yn ehedeg yn gyflymach os oedd yn bosibl, gyda'i genadwri at Mair.

Dengys gwedd yr hanes ei fod yn llawn natur dda, yn gwbl wrth ei fodd, yn adrodd y genadwri wrth y wyryf ieuanc. Pe gwelid un o brif weinidogion y llywodraeth yn y Talaethau hyn, neu Brydain Fawr, yn gyru gyda phob brys, trwy gymoedd a thros fryniau, gan gyfeirio ei ffordd at fwthyn llwydaidd yn nghesail y mynydd, heb gymaint a throi ei lygaid at un o'r palasau teg oedd yn britho y wlad, parai gyffro

mawr a holi prysur beth a allai fod ei neges. Wele yma angel uchelradd, un o brif weinidogion llys y nef, yn gadael y llys gan wneyd ei ffordd gyda chyflymder y fellten, efallai yn llawer cyflymach, gan adael ar dde ac aswy heuliau dysglaer, bydoedd a ser mawreddog, gan ddal ei lygad yn deg ar ein daear lwydaidd ni. A phe buasai un o breswylwyr y gwledydd fry yn gofyn iddo, i ba le yr ai, a phaham y fath frys, yr ateb a gawsai, "Ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Dymunol iawn gan y darllenydd yn ddiau, nad ydyw Mair ieuanc, brydferth, yn anghredu nac yn ameu cenadwri yr angel fel y gwnaethai yr hen wr Zecharias. Gwir ei bod mewn dyryswch meddwl pa fodd y cymerai hyn le, oblegid eglur w nad oedd yr Iuddewon a ddeallent y proffwydoliaethau oreu wedi deall yn glir erioed am genedliad goruwchnaturiol y Messiah. Mab Dafydd oedd i fod yn ol eu syniad hwy. Er fod Mair yn credu pob sill a ddywedai Gabriel, eto yr oedd cywreingarwch naturiol i feddwl merch, yn peri iddi ymholi am y pa fodd, a chaniatawyd hyn iddi gan yr angel tirion. Yr oedd gwaith y gwr da yn ei galw wrth ei henw, fel un adnabyddus iddo ef, ag oedd yn weinidog o flaen gorsedd Duw, yn rhoddi grym a gwroldeb ynddi i ymddyddan yn rhydd ag ef. Mae yn symud pob anhawsder o'i meddwl. Nis gallwn lai na theimlo yn dda tuag ato am y newydd ac am ei ddull hawddgar yn ei adrodd, er nad oedd ond cenad. Mae y syniad ei bod hi wedi ei dewis gan Dduw i fod yn fam i'r Messiah, yr hyn fuasai yn brif ddymuniad calon holl wragedd duwiol Israel, er's oesoedd, yn nghyd a dymuniad Mair ei

hun, hefyd, fel y mae yn hawdd iawn genym gredu, yn ei llanw a llawenydd annhraethadwy.

Yr oedd Mair yn flaenorol i hyn, er nad oedd nemawr dros bymtheg mlwydd oed, feddyliem, oddiwrth hanes priodasau yn mysg y genedl, wedi ei dyweddio i wr o'r enw Joseph, a phan oedd ef ar ei chymeryd yn wraig, canfyddodd er ei syndod ei bod eisioes yn feichiog. Ond am ei fod yn gyfiawn, nid am ei fod yn dyner o galon a theimlad fel yr esbonir y geiriau weithiau, "ewyllysiodd ei rhoddi ymaith yn ddirgel." Mae yn amlwg mai amheuaeth, ac nid sicrwydd o ffaith, oedd yn llanw ei feddwl yn achos ei ddyweddi a buasai iddo alw am ysgariaeth cyn cael sicrwydd digonol, nid yn unig yn greulon ond yn anghyfiawn hefyd ynddo. Diau fod Mair wedi hysbysu yr oll iddo yn nghylch ei beichiogiad; byddai yn annaturiol i ni synied yn amgen; ac yr oedd y peth yn ymddangos mor rhyfeddol a mawreddig i Joseph, fel nad allai gredu nac anghredu. Rhaid fod ei fynwes yn dygyfor fel y môr gan ei feddyliau cythryblus. Cariai y meddwl uwchaf am burdeb ei ddyweddi, yr hon a garai fel ei enaid ei hun; weithiau credai ac weithiau methai gredu ei hystori. Gallwn yn hawdd gydymdeimlo â'i drallod. Daeth Joseph i'r penderfyniad beth bynag o beidio rhoddi llythyr ysgar iddi a'i chyhoeddi yn odinebus, eithr yn hytrach ei rhoddi ymaith yn ddirgel, heb roddi un rheswm cyhoeddus am ba beth. Gofynai cyfraith Moses losgi y cyfryw â thân, ond yr oedd y gyfraith wedi gorfod rhoddi ffordd i draddodiadau yn hyn fel mewn llawer o bethau eraill. Gwir y buasai ei rhoddi ymaith yn ddirgel yn taflu gwarth ar ei henw, ond buasai Joseph ei hunan yn

gyfranog o'r gwarth, gan y buasai ei baban anghyfreithlawn yn cael ei gyfrif iddo ef, a buasai yn cael ei ystyried yn greulon am dwyllo a chamdrin merch ieuanc mor rinweddol ag y cyfrifid Mair. "Ac efe yn meddwl y pethau hyn, wele angel yr Arglwydd a ymddangosodd iddo ef mewn breuddwyd." Trwy freuddwydion y mae Joseph yn cael ei gyfarwyddo, fel y Joseph arall gynt. Tebyg fod y dull hynod hwn o ddadguddiad yn cyd-daro a symlrwydd ei feddwl yn well nag un dull arall. Y fath newydd dedwydd da, a gafodd trwy ei freuddwyd. Tawela ei feddwl cythryblus ar unwaith, ac mae heb un amheuaeth yn priodi ei ddyweddi yn ddioed, yn ol seremoniau ei wlad a'i oes. Eithr nid ydyw yn ei hadnabod fel ei wraig nes ar ol iddi roddi genedigaeth i'w chyntafanedig. Myn y Pabyddion iddi dreulio ei hoes, a marw yn forwyn bur. Nid ydym yn gallu canfod sail ddigonol i hyn, ond ryw fodd, yn dylyn teimlad feallai yn hytrach na barn, yr ydym yn hoffi y golygiad na bu iddi ar ol hyn, ymddwyn ar blant cyffredin, ond mai yr Iesu oedd ei hunig-anedig, ac mai plant i Alpheus, brawd Joseph o Mair ei wraig, a chwaer-yn-nghyfraith i Mair forwyn, ydoedd y brodyr a chwiorydd y sonir am danynt gan yr Efengylwyr. Mae llawer iawn o ddadleu galluog o blaid ac yn erbyn hyn, eithr mae allan o'n llwybr ni i geisio eu dylyn yn awr.

Wedi ymadawiad yr angel y mae Mair ieuanc wrthi ei hun, a'i meddwl yn cyffroi, a'i henaid ar dân am gael rhywun y gallai yn ddiogel ddadlwytho ei chalon lawn i'w mynwes. Nid oedd, mae yn debygol, neb o'i hamgylch y gallai anturio i wneyd hyny, ond adgof-

iodd air yr angel yn nghylch ei chares Elizabeth, a meddyliodd y gallai ymddiried iddi hi i ddyweyd ei *secret* mawreddog wrthi, ac ymaith a hi ar frys i dalu ymweliad â'i chwaer oedranus gyda'r newydd hyfryd. Os ydyw gwaith y daearyddwyr sydd o'n blaen yn agos yn gywir, yr oedd ganddi o leiaf gan' milltir o ffordd o Nazareth yn Galilea, i ddeheudir llwyth Judah, yn agos i gwr anialwch Sinai, fel y bernir, er fod lle-oldeb manwl y fan wedi ei lwyr golli. Tröed y darllenydd ieuanc i'r benod gyntaf o Luc, a darllened yn fanwl hanes yr ymweliad dyddorol hwn.

Er mwyn y dosbarth ieuengaf oll o'n darllenwyr, sylwn, cyn myned yn mhellach, fod y nifer luosocaf a goreu o'r awdwyr y cawsom y fantais o ddarllen eu gwaith, yn barnu fod y cyfrif Cristionogol, sef yr Anno Domini, sydd mewn arferiad cyffredin, o leiaf bedair blynedd, chwe' blynedd, medd eraill, yn rhy ddiweddar i'r gwir amser, ac felly fod y flwyddyn hon yn 1885 yn lle 1881. Eu sail i hyny ydyw fod marwolaeth Herod Fawr wedi cymeryd lle yn fuan ar ol genedigaeth Crist; a dywed Josephus, yr hwn sydd hanesydd hynod gywir, fod diffyg cyflawn dros y lleuad y nos y bu farw, a phrofa seryddwyr gyda y sicrwydd mwyaf nad allai hyny fod yn ol y cyfrif presenol, ac mai ar y nos rhwng y 12fed a'r 13eg o fis Mawrth, bedair blynedd yn flaenorol, y cymerodd y diffyg ar y lloer le. Hawdd iawn y gallasai y gwall hwn lithro i mewn pan ystyriwn mai yn y chweched ganrif ar ol genedigaeth Crist y dechreuwyd arfer y cyfrif presenol, ac iddo gael ei sefydlu mewn oes anwybodus a difedr.

Y mae Ioan Fedyddiwr yn awr yn cael ei eni, a

mawr oedd y croesaw a gafodd y gwr bach ar ei ymddangosiad yn y byd; nid yn unig gan ei rieni oedranus, ond hefyd gan eu cymydogion a'u ceraint. Symudwyd yn awr y cerydd a roddasai angel yr Arlwydd ar ei dad Zecharias, am ei anghrediniaeth; datodwyd rhwymau ei dafod, ac agorwyd ei glustiau, oblegid mae yn eglur ei fod yn fyddar yn gystal a mud. A'r ymadroddion cyntaf a ddaeth dros ei wefusau ydoedd y gân broffwydoliaethol ardderchog a gawn yn Luc i.

Y pryd hwn y rhoddir y ddeddf hono o eiddo Augustus Cæsar mewn gweithrediad, sef am drethu yr holl ymerodraeth, pryd y gofynid i bawb o drigolion Palestina fyned i'w lle genedigol i restru eu henwau, a chael eu trethu. Ond edrych o'n hamgylch ychydig gallwn ganfod fel yr oedd y Duw doeth yn ei lywodraeth ar y byd, wedi trefnu yr adeg yn gyfleus i ymddangosiad ei Fab. Yr oedd yr Ymerodraeth Rufeinig y pryd hwn yn cyrhaedd o lanau yr Euphrates i Ynys Prydain, ac o Fôr y Gogledd hyd Ethiopia, a'r oll mewn heddwch tawel. Canfyddai Augustus yr adeg hon yn gyfleus i gymeryd cyfrif o'i ddeiliaid trwy ei holl dalaethau eang. Cyrhaeddodd gorchymyn yr ymerawdwr i wlad Canaan, yr hon nid oedd eto wedi ei darostwng yn dalaeth Rufeinig, ond yn cael ei llywodraethu mewn enw gan Herod. Mewn enw yn unig yr oedd yn frenin, eithr mewn gwirionedd yn ddeiliad o ymerodraeth Rhufain, a rhaid oedd iddo ufuddhau i archiad yr ymerawdwr. Eto goddefid iddo gymeryd ei ddull ei hun at y gorchwyl, a dewisodd y dull Iuddewig, sef fod i bob teulu oedd wedi gadael treftadaeth er mwyn enill eu tamaid bara, i fyned i'w cartrefi

priodol cyntefig i gael eu trethu; a chan fod Joseph a Mair yn perthyn i Bethlehem Juda—i Bethlehem yr oedd yn rhaid iddynt fyned i gael eu trethu. Eu hamcanion eu hunain oedd gan Augustus a Herod yn gweithredu fel y gwaent, ond yr oeddynt yn ddiarwybod iddynt eu hunain yn gwasanaethu i amcan uwch y Duw anfeidrol. Amcan yr ymerawdwr oedd cael cyfrif manwl o werth meddianau pawb, maint ei adnoddau, a rhifedi ei ddeiliaid, a gwasgu arian o honynt.

Tra yr oedd Joseph a Mair yn aros yn y ddinas i ddysgwyl eu tro i gael eu rhestru ar y llyfrau, y mae ei hamser hi i esgor yn cael ei gyflawni. Nid oedd gwestai fel rhai ein hoes a'n gwlad ni, gydag astell uwch ben y ddor, a "llety rhad" yn argraffedig arni i'w gweled yn britho yr heolydd yn y wlad a'r oes hono. Yr oedd teimlad yr Iuddew yn gwrthdaro y fath beth. Rhoddai ef lety, lluniaeth a chroesaw i'r teithydd yn ddidâl. Dyma oedd yr hen arfer dda, ond erbyn y cyfnod hwn yr oedd pethau wedi newid i raddau helaeth. Fel yr oedd y teithwyr yn amlhau, yr oedd lletygarwch, er mor brydferth yr ymddengys yn yr hanes, yn myned yn feichiol, a gwnaed darpariaeth arall ar gyfer y teithwyr. Codid yn mhob tref fath o lety fforddolion, adeilad eang lle gallai y neb a fynai droi i mewn i gael llety iddo ei hun, a chysgod i'w anifail, yn ddidâl. Ond rhaid oedd iddo ofalu drosto ei hun am ymborth, ac ebran i'w asyn. Yr oedd adail fel hyn i dderbyn dyeithriaid yn Bethlehem Juda dybygwn, ac yn y man hwn y cawn Joseph a Mair. Ymddengys ei bod yn ddiweddar arnynt yn dod i mewn, a bod holl ystafelloedd y llety wedi eu cymeryd i fyny cyn eu dyfodiad hwy. Yr oedd sefyllfa y fam

ieuanc yn galw am gysgod yn rhyw le yn ddioed, ac nid allai Joseph, er cymaint ei bryder a'i ofal, gael lle amgen iddi na'r fan y porthid yr anifeiliaid. Maent yn myned i mewn i un o'r rhai'n, ac yn y lle anghyfleus hwn y mae Mair yn esgor ar ei mab cyntaf anedig, ac o ddiffyg gwell, y mae preseb yr ych neu yr asyn yn gorfod gwneyd y tro yn lle cryd i'r dyn bach.

Yn yr agwedd isel hon y gwnaeth Iesu Grist ei ymddangosiad yn y byd, i weithredu iachawdwriaeth i'w bobl. Wele ef yn faban bychan gwan, heb un gwahaniaeth ymddangosiadol rhyngddo a'r miloedd a anwyd ar yr un dydd ag ef. Ond os oedd trigolion y ddaear yn ddisylw o hono, nid felly yr oedd preswylwyr y nef. Yr oedd yr angylion wrth y llengau, feddyliem, ar eu hadenydd o amgylch y lle, ac yn llawn bywiogrwydd yn yr achos. Cymerodd yr enedigaeth le yn y nos; ac yn ddisymwth y mae angel yr Arglwydd yn ymddangos i nifer o fugeiliaid duwiol oedd yn y meusydd gerllaw yn gwylied eu praidd, a gogoniant yr Arglwydd yn tanbeidio o'u hamgylch nes peri iddynt ofni yn ddirfawr; ond y mae yr angel yn eu cyfarch yn serchog, am iddynt beidio ofni; ac yn ol gwedd yr hanes y mae gyda hyfrydwch annhraethol yn dweyd y newydd gwerthfawr wrthynt fod Ceidwad wedi ei eni yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd. Yna rhoddes gyfarwyddyd pa le i'w gael, a'r wedd isel oedd arno. Yr oedd y tlodion hyn wedi arfer meddwl a dysgwyl am ddyfodiad y Messiah mawr, Brenin a Gwaredwr y genedl, mewn gwedd llawer mwy mawreddig na hyn. Ychydig a ddarfu iddynt feddwl mai un o'u mysg, o'u dosbarth hwy a fyddai. Rhoddai hyn gyfnewidiad rhyfeddol yn eu meddyliau hwy am dano, ac yn eu

teimladau tuag ato. I'r mawrion, yn wir, yr oedd hyn yn dramgwydd ac yn rhwystr, ond i'r isel-radd, y cyffredin, corff y bobl, yr oedd efe yr un oedd arnynt hwy ei eisiau, yr un y byddai yn naturiol iddo o herwydd ei amgylchiadau ei hunan wybod yn brofiadol am eu sefyllfa, a chydymdeimlo â hwynt. Teimlent eu hunain yn fwy o werth, yn ymgodi yn ngraddfa creadigaeth Duw, wrth ganfod eu hunain yn wrthrychau cyfarchiad parchus angel Duw, ac mai o'u gradd hwy yr oedd y Messiah mawr i ddod allan. Y mae rhywbeth annhraethol brydferth a dymunol i ni—y bobl—ddarfod i'r Iesu ymddangos yn y byd yn union fel y gwnaeth. Diolch iddo mai yn yr ystabl, ac nid yn y palas breninol y trefnodd wneyd ei ymddangosiad. Mae yn hawdd iawn genym feddwl na bu y cenadau gogoneddus hyn, oedd yn canu yn yr awyr uwchben meusydd Bethlehem, erioed yn fwy wrth eu bodd; gwyddent yn dda am dlodi a thrueni dyn, ac yr oedd cael dod a'r newydd fod Ceidwad wedi ei eni i gadw pechadur yn eu llenwi o orfoledd; nid rhyfedd eu bod yn canu. Dewisent, dybygem, un o'u halawon goreu, ac y mae yn debyg iawn eu bod yn wahanol gorau, yn ateb eu gilydd, yn gyffelyb fel y gwnai y cantorion yn y deml. Y mae rhediad geiriau y gân yn ein harwain i synied felly. Hwyrach eu bod yn dri chôr. Meddai y cyntaf, "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw;" meddai yr ail, "Ar y ddaear tangnefedd;" atebai y trydydd, "I ddynion ewyllys da." Byr iawn, ond melus odiaeth oedd yr anthem, mae'n eglur. Yr ydym yma megys am fynyd yn dod i gyfarfyddiad â'r goruwchnaturiol; ac yn wir, os oes byd yr ysbrydoedd yn bod, a'n Gwaredwr yn llenwi y

lle ynddo a briodolir iddo gan ein ffydd, nid rhyfedd fod rhai o brif breswylwyr y byd dyeithr hwnw yn hoffi dod gydag ef i weled ei gyfeillion newydd oedd ganddo yn ein byd ni, ac i dynu cydnabyddiaeth â rhai fyddai yn cyd-dreulio tragywyddoldeb â hwy eu hunain. Wel, ddarllenydd, ymlawenhawn ninau am fod Ceidwad wedi ei eni. Mae yr holl broffwydoliaethau wedi agor led y pen fel pyrth mawrion iddo ddod trwyddynt i'n daear, ac wedi cau byth ar ei ol.

---

## PENNOD III.

*Y Doethion o'r Dwyrain a'u Seren—Herod a'i Gyflafan—Joseph, ei Ffyddlondeb.*

Pan oedd y mab bychan yn wyth diwrnod oed, y mae ei rieni yn enwaedu arno yn ol y ddeddf. Cynygia athrawon lawer math o resymau paham yr oedd y Duw-ddyn yn myned o dan gyllell yr enwaediad, ordinhad nad ydoedd yn un o'r pethau oedd yn arwyddocâu, yn angenrheidiol iddo ef. Ond ystyriwn yn ddigonol yma i ddyweyd ei fod fel hyn yn rhoddi prawf boddlonol o'i natur ddynol, ei fod wedi ei wneuthur yn gnawd, ac yn trigo yn ein plith ni, ac yn mhob peth yn gyffelyb i'w frodyr; ei fod yr "had addawedig"—had Abraham. Yr oedd hefyd trwy yr enwaediad yn cael ei dderbyn i mewn i'r eglwys Iuddewig, i'r hon ni dderbynid un mab heb enwaedu arno. Oni buasai ei fod yn enwaededig, bwriesid yr Iesu allan dros drothwy y deml fel un aflan. Ni chawsai ychwaith dderbyniad i synagogau nac aneddau y bobl;

tybygem hefyd ei fod yn rhoddi math o ernes y cyflawnai yr holl ddeddf yn lle ei bobl. Aeth o dan y ddeddf seremoniol fel Iuddew, ac o dan y ddeddf foesol fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf, fel y derbyniem ni y mabwysiad. Ystyrid adeg y mabwysiad gan yr Iuddewon yn gyffelyb i adeg bedydd gyda ni, yn gyfleus a phriodol i roddi enw ar y plentyn. Nid ydym yn gwybod am un ddeddf yn gofyn hyn, ond dechreuodd yr arferiad mor foreu ag amser Abraham, a chafodd ef helaethu ei enw pan yr aeth o dan gyllell yr enwaediad; ac yma dywedir, "A galwyd ei enw ef Iesu." Diolch am enw mor llawn o ystyr.

Yn mhen deugain niwrnod ar ol rhoddi genedigaeth i fab, yr oedd galwad am i'r fam ddod i'r deml, yn ol defod puredigaeth, a chan fod y baban yn gyntaf-anedig, yr oedd i gael ei ddwyn gyda'r fam i gael ei gyflwyno i'r Arglwydd. Galwai hyn am i'r tad hefyd fod yn bresenol gyda hwynt. Deugain diwrnod oedd i fod cyn y puredigaeth; nid allai gymeryd lle cyn hyny, ond mae yn lled debyg y caniateid oediad hwy os byddai amgylchiadau yn galw am hyny. Yma mae anhawsder yn codi ag sydd wedi rhoddi llonaid dwylaw y cysonwyr o waith, sef penderfynu pa un ai cyn eu mynediad i'r Aifft, ai wedi eu dychweliad oddiyno, y cymerodd y cyflwyniad a defod y puredigaeth le. Gellid meddwl oddiwrth yr hanes yn Matthew fod genedigaeth yr Iesu ac ymweliad y doethion, y ffoad i'r Aifft, a dinystr y plant bychain, yn dylyn eu gilydd mor gyflym fel nad oedd adeg i hyny. Eithr ni sonir eu bod ar ol dychwelyd o'r Aifft yn galw yn Jerusalem o gwbl. Gan nad allwn daflu goleu ar y mater, awn heibio. Pan y daeth Joseph a Mair i'r deml, y mae

hen wr duwiol o'r enw Simeon yn cymeryd y baban yn ei freichiau, ac ar y pryd yn cael datguddiad gan Dduw mai efe oedd y Messiah; ac eglur yw fod ei olygiadau am y Messiah yn llawer mwy clir na'r cyffredin. Torodd allan mewn anthem o fawl am i'w lygaid gael gweled Iachawdwriaeth yr Arglwydd cyn eu cau gan angau. Yr oedd yr hen Anna dduwiol hefyd yno yn cyduno â Simeon yn y fawlgan. Mor brydferth ac anwyl ydyw henaint pan wedi ei addurno â gras fel yr oedd yr hen wr a'r hen wraig duwiol hyn. Gallwn weled oddiwrth offrwm Joseph a Mair dros eu Mab, yr hyn oedd am arbediad plant Israel pan y lladdwyd plant yr Aifftiaid, mai lled isel oedd eu hamgylchiadau, er eu bod ill dau yn ddisgynyddion uniongyrchol o deulu breninol Judah; oblegid yr offrwm bychan a oddefid gan y gyfraith, os byddid yn methu cyraedd y mwyaf, oedd ganddynt hwy i'w gyflwyno dros eu baban. Fel hyn, drwy ei dlodi ei hun y mae yr Arglwydd Iesu wedi diosg tlodi o bob anmharch. Yr oedd ei ddewisiad yn rhydd hollol ganddo ef. Yr oedd tlodi a chyfoeth o'i flaen, eithr dewisodd ef y cyntaf. Efe oedd yr unig un o blant Adda erioed a gafodd y dewisiad hwn wrth ddyfod i'r byd, a rhoddodd ei fywyd ef barchusrwydd a mawrhad ar dlodi cynil, gonest, a glanwaith. Diolch i'w enw am hyn.

Tra yr oedd y teulu anwyl yn aros yn Bethlehem, mae y doethion o'r dwyrain yn dyfod i Jerusalem, i ymofyn, meddent hwy, am yr hwn a anwyd yn frenin yr Iuddewon. Pwy oedd y gwyr da hyn? Pa un ai athronwyr, offeiriaid, neu dywysogion oeddynt, neu ynte bob un o'r tri? Pa wlad a feddylir wrth y Dwyrain? Beth oedd hyd eu taith oddicartref i

Judea? Dyma ofyniadau a atebwyd ganwaith, a hyny bron mewn cynifer o wahanol ffyrdd, ac er nad oes gan yr awdwr nemawr o ddim newydd i'w gynyg, eto mae yr hanes mor ddeniadol, mor brydferth, fel y mae yn anhawdd peidio sefyll uwch ei ben. Am eu gwlad, mae yn anmhosibl byth gyraedd sicrwydd hollol yn ei chylch. Arabia, Persia, neu Caldea, medd bron bob un o'r awdwyr sydd o'n blaen. Yr oedd y gwledydd hyn i'r dwyrain o Judea, a'r anrhegion gwerthfawr a ddygasant yn eu dwylaw, i'w cael mewn helaethrwydd yn y gwledydd hyny. Yr argraff naturiol a wneir ar feddwl y darllenydd syml ydyw, eu bod yn dyfod o wlad bell. Hefyd yr oedd yr Iuddewon yn dra adnabyddus yn y gwledydd hyny, a nifer mawr o honynt yn cyfaneddu ynddynt y pryd hwnw, wedi aros yno er amser y caethiwed yn Ninefeh a Babilon gan Salmanezer a Nebuchodonosor. Yr oedd yr Ysgrythyrau hefyd wedi eu cyfieithu i'r iaith Roeg, yr hon a ddeallid y pryd hwnw bron dros yr holl fyd gwareiddiedig. Bu amryw o'r genedl Iuddewig hefyd mewn bri yn y teyrnasoedd hyn; un o'i merched yn frenines yn Persia am flynyddoedd lawer, ac yr oedd lluaws o broselytiaid i'r grefydd Iuddewig yn mysg y dynion mwyaf meddylgar a deallus o honynt. Yr oedd teml Jerusalem a'r Duw a'i preswyliai yn adnabyddus hyd eithafoedd y byd. Fel hyn, yr oedd y dysgwyliad am y Messiah, Brenin yr Iuddewon, wedi ei daenu yn gyffredinol trwy y gwledydd dwyreiniol. Gwir mai lled ddiffurf oedd y dysgwyliad hwn; ni wyddent yn iawn beth oeddynt yn ei ddysgwyl, oblegid ni wyddent beth oedd yn eisiau arnynt. Yr oedd y pagan, druan, o dan deimlad dwfn fod ei natur ef yn galw am ryw-

beth nad allai y byd na'r oll oedd ynddo fforddio, a dysgwyliai a gobeithiai am rywbeth mawr trwy y Messiah, y soniai y llyfrau Iuddewig am ei ddyfodiad. A phwy a wyr y dybenion pwysig a atebodd dyfodiad y gwroniaid hyn i Judea. Nid rhyw grwydriaid digyfrif, oeddynt, mae yn amlwg, eithr goreuon eu gwlad, yn teithio mewn dull parchus, os nid rhwysgfawr. Dangosir hyn yn amlwg gan y cyffro mawr a greodd eu hymddangosiad yn Jerusalem. Ni ddywedir eu nifer, ond fod yno fwy nag un. Cyfrifa traddodiad hwynt o dri i fyny hyd bymtheg, ond traddodiadau ydynt, er eu bod wedi disgyn i ni trwy ddynion mor enwog a Tertullian Chrysostom ac Epiphanus. Y gair gwreiddiol am danynt ydyw Magoi, enw yn dal cysylltiad â dysgeidiaeth seryddol a chrefyddol eu gwlad; yr oeddynt felly y dosbarth uchelaf yn y wlad. O fysg y Magiaid y dewisid breninoedd Persia am oesoedd lawer.

Arweinia hyn ni yn naturiol i wneyd sylw ar y seren a fu yn achlysur i'r doethion hyn droi eu hwynebau tua gwlad Judea, i adael eu cartrefi i gymeryd taith faith a blin. Yr oeddynt rywfodd wedi deall fod cysylltiad rhwng y Messiah dysgwyliedig ag ymddangosiad seren. Gwel Num. 24: 17. Y syniad cyffredin am y seren, feddyliem, ydyw, fod goleuni goruwchnaturiol, cyffelyb i'r golofn dân a fu yn arwain yr Israeliaid trwy yr anialwch, wedi bod yn arweinydd i'r gwyr hyn ar hyd eu taith o'u cartrefi hyd gymydogaeth Jerusalem; a thrachefn wedi iddynt fyned trwy y ddinas iddi fyned o'u blaen a sefyll goruwch y lle yr oedd y Mab Bychan, gan ddangos iddynt hyd yn nod y ty yr oedd y teulu ynddo. Ni fynem anesmwytho

meddwl y darllenydd sydd wedi arfer credu felly, oblegid y mae'n olygiad a goleddir gan y nifer luosocaf, efallai, o ysgrifenwyr da a duwiol. Eto, cyflwynwn olygiad arall, nid un newydd mae'n wir, gan ofyn iddo roddi ystyriaeth briodol, a gwneyd tegwch ag ef, a chymeryd yr un a dybia ef ei hun y mwyaf cywir yn y diwedd. Barna yr enwogion Kepler, Encke, a dynion da eraill, mai cydgyfarfyddiad o Jupiter, Sadwrn, yn nghyd âg un o'r ser sefydlog, yn gwneyd i fyny arddangosiad newydd a dyeithr yn yr entrych, ydoedd seren y doethion. Fod y fath gydgyfarfyddiad hynod wedi dygwydd tua'r amser hwnw sydd gwbl sicr, meddant. Dengys y gwyr hyn, neu o leiaf amcanant ddangos, trwy gyfrifiad manwl, fod y cyfarfyddiad wybrenol yn driphlyg, eu bod ar y 29ain o fis Mai yn weledig cyn machlud haul, ac ar y 1af o Hydref, a thrachefn ar y 5ed o Ragfyr, a'u bod yn y dwyrain yn weledig i'r llygad noeth fel un corff dysglaer a phrydferth. Os gadawodd y doethion eu cartrefi ar yr ymddangosiad cyntaf, gallasent fod yn Jerusalem erbyn y diweddaf. Dywed Kepler hefyd ei fod yn bosibl i'r blaned Mawrth fod yn y cyfarfyddiad, fel yr oedd yn y flwyddyn 1603. Erbyn iddynt hwy ddod allan o Jerusalem i gychwyn tua Bethlehem, ac wrth ganfod y goleuni hynod yn yr entrych yn y deheu, yn nghyfeiriad Bethlehem, yr ydoedd i'w calonau crediniol hwy fel pe buasai yn myned o'u blaen. Diau fod y llwybr o'r dwyrain i Jerusalem yn sathredig a hysbys, fel mae y llwybr yn awr o Damascus i Mecca, yr hwn a deithir gymaint gan y pererinion Mahometanaidd; a thebygol i'r doethion deithio i Jerusalem, fel rhyw fintai arall, gydag arweinydd hysbys o'r ffordd, neu ynte trwy ym-

holi; a'r un modd yr aent drachefn o Jerusalem i Bethlehem.

Ond gofyniad naturiol yw, pa fodd y daeth i feddwl y gwyr hyn gysylltu genedigaeth brenin yr Iuddewon, a'r ymddangosiad hynod hwn yn y ffurfafen, os goleuni cwbl naturiol ydoedd? Hwyrach, fel yr awgrymwyd, iddynt gael eu harwain i hyny trwy broffwydoliaeth Balaam, yr hwn oedd ddyn o'r dwyrain ei hunan. Prin y credwn fod digon o le yn cael ei roddi i'r dwyfol na'r dynol yn y golygiad cyntaf a nodwyd. Dylid ystyried mai nid un gwr doeth yn synfyfyrio mewn unigedd oedd yma, eithr nifer mawr, efallai, o wyr doethion yn archwilio i mewn yn bryderus i'r holl achos, gan gydymgynghori, cydweithredu a chynorthwyo eu gilydd hyd eithaf eu gallu; ac mae yn bur debygol mai cenadaeth ddetholedig o'u mysg oedd y rhai a ddaethant i Judea. Digon tebyg y gwyddent am gynwysiad yr Ysgrythyrau Iuddewig, oblegid yr oedd copiau o honynt yn nwylaw yr Iuddewon yn eu gwlad hwy mewn iaith a ddeallent. Yr ydym yn rhwym hefyd o roddi lle mawr i waith Ysbryd yr Arglwydd ar y meddylwyr grymus a doeth hyn. Mae y golygiad cyntaf yn rhy gul, ryw ffordd, er fod digon o hyd ynddo, eithr yn y naill olygiad a'r llall, rhaid rhoddi lle i'r Dwyfol yn rhyw le. Pe seren wedi ei llunio gan Dduw i'r perwyl hwn yn unig ydoedd, nid yw yn debyg y gallasent ddeall beth a geisid ganddynt heb i'r Ysbryd Glan weithredu ar eu meddyliau a'u calonau i'w cyfarwyddo. Yr un modd gyda'r golygiad hwn, ond mae y drychfeddwl am fawredd y gwr a ddysgwylient yn disgyn ar eu meddyliau gyda mwy o rym, pan y canfyddent, neu y tybient yn

symlrwydd eu calon eu bod yn canfod, ser y nef yn eu graddau yn pwyntio at ei enedigaeth. A chyn i Ysbryd yr Arglwydd ollwng y gwyr hyn yn ol tu a'u gwlad, yr oedd eu ffydd yn llawn mor gref a ffydd y canwriad hwnw a ganmolir mor fawr gan yr Arglwydd Iesu.

Pan yn cychwyn oddicartref, tybient eu bod yn myned i ymweled â brenin, a rhagbarotoent ar gyfer hyny, a phan ddaethant i Jerusalem, lle y dysgwylient yn naturiol ei gael, cawsant ar yr orsedd yno hen wr caled, bydol a gorthrymus. Cawsant breswylwyr y ddinas sanctaidd, a gweinidogion cysegr Duw, y rhai y dysgwylient eu bod yn gwybod yr oll yn ei gylch, yn gwbl ddifater ac anghrediniol. Cyfeiriwyd hwy yn y diwedd i ddinas fechan a dinod Bethlehem, ac yno drachefn i ystabl, neu, efallai, erbyn hyn i un o dai mwyaf cyffredin y dref, ac yno cawsant y Mab bychan yn cael ei gylchynu gan arwyddion o iselder amgylchiadau y rhieni, ei dad cyfrifol yn ddim ond crefftwr cyffredin. Modd bynag, symudai Ysbryd yr Arglwydd yr holl dramgwyddiadau bron anorfod hyn oddiar eu ffordd, a phlygai y gwyr doethion ger bron y baban bychan, gan ei addoli, ac agor eu trysorau gwerthfawr, ac offrymu iddo anrhegion o aur, thus, a myrrh.

Wrth graffu ar holl hanes y gwrthrych mawr, canfyddwn fod yr ochr nesaf atom yn gwbl ddynol, tra mae yr ochr bellaf oddiwrthym yn ddwyfol; ac wrth ddal i graffu, ymddengys y dwyfol trwy y dynol, ac nis gallwn ollwng o'n gafael y syniad fod y dynion anwyl hyn wedi canfod yn amlwg y "Duwdod yn y dyn." Cawsant hefyd yr anrhydedd mawr o dderbyn

cenadwri uniongyrchol oddiwrth y Jehofa anfeidrol ei hun, yr hyn ni chafodd ond ychydig o drigolion ein daear. Hefyd hwy oeddynt ein cynrychiolwyr ni y cenedloedd dienwaededig, yn Bethlehem Judea, i gyflwyno holl bobloedd y ddaear i fod yn ddeiliaid ffyddlawn i'r Iesu, gan ei addoli yn gyntaf, ac yna cyflwyno eu hoffrymau gwerthfawr iddo. Bydded i ninau wneyd eu cyflwyniad hwy o honom yn ffaith wirioneddol, trwy ffyddlondeb i'w lywodraeth ac anwyldeb at ei berson. Er mor brydferth yr ymddengys y gwyr da a'r boneddwyr gwirioneddol hyn yn yr hanes, rhaid i ni eu gollwng yn ol i'w gwlad eu hunain. Bydd y cof am danynt yn barchus byth gan bawb sydd yn caru yr Arglwydd Iesu Grist mewn purdeb.

"Pan welodd Herod gael ei siomi gan y doethion efe a ffromodd yn aruthr." Geiriau desgrifiadol ar eu heithaf yw y rhai hyn, ac anaml y defnyddir eu cyffelyb yn yr Ysgrythyrau. Gyda'r bwriad o ladd y mab bychan, y Brenin ieuanc, fel y tybai efe, ac er mwyn gwneyd hyny yn sicr, gorchymynodd Herod ladd yr holl fechgyn oedd yn Bethlehem o ddwyflwydd oed a than hyny. Eithr cyn i'r ergyd waedlyd ddisgyn, mae Duw yn gofalu symud ei Fab o'i chyraedd, i wlad yr Aifft. Darlunia y proffwyd Esaia yr amgylchiad mewn iaith wir farddonol; dywed fod Rahel, hoffus wraig yr hen Jacob, a mam Joseph a Benjamin, yr hon oedd wedi ei chladdu yn y gymydogaeth er's oesau lawer, megys yn deffroi o'i chwsg wrth y swn, ac yn cyfodi o'i bedd i wylo am ei phlant; ac yr oedd ei llef mor dreiddiol fel y clywid hi o Ramah, ddeuddeg milltir o ffordd. Bu areithwyr, ysgrifenwyr, a beirdd goreu y byd ar eu hegni lawer gwaith gyda'r desgrif-

iad, ond maent yn ddigon pell o gyraedd effaith a phrydferthwch geiriau y proffwyd a'r bardd ysbrydoledig. Beth allai fod rhif y rhai bychain, tybed? Dywedir fod eglwys Groeg wedi seintio pedair mil ar ddeg o honynt; ac oddiar gam-ddeall Dat. 14:4, cawn ryw un yn traethu ei fympwy eu bod yn bedair mil a saith ugain mil. Oddiwrth faintioli y ddinas, modd bynag, a nifer y teuluoedd a allai fod ynddi, byddai o ddeugain i haner cant yn fwy rhesymol, a hwyrach heb fod yn mhell iawn oddiwrth y rhif gwirioneddol. Yn ol pob ymddangosiad yr oedd y mab bychan yn y perygl mwyaf. Ond wedi i'r doethion siomi Herod, rhybuddiwyd Joseph, mewn breuddwyd eto, i ffoi i'r Aifft. Yr oedd llawer o deithio y pryd hwn rhwng Judea a'r Aifft, a gallasai y teulu yn ddiau ymuno â mintai o deithwyr bron unrhyw ddiwrnod. Rhoddasai anrhegion y dwyreinwyr cyfoethog ddigon o fodd yn eu llaw ar gyfer y daith. Yr oedd hefyd filoedd lawer o Iuddewon mewn amgylchiadau cysurus, a than lywodraeth tywysog tyner yn byw yn yr Aifft y pryd hwn, ac felly nid oeddynt yn gymaint yn mysg dyeithriaid wedi cyraedd yno.

Yn fuan ar ol hyn trengodd Herod fawr, fel ei gelwid, o dan arwyddion amlwg o anfoddlonrwydd Duw. Eto mor hynod gynil y mae yr ysgrifenwyr sanctaidd gyda nodweddiad dynion drwg a diffaeth fel Herod, fel na adroddir ond y ffaith yn syml. Nid ydynt byth yn hoffi gwneyd eilun hyllig o honynt er porthi nwydau dialgar dynion. O'r tu arall nid ydynt yn rhoddi cymaint a sill o ganmoliaeth i Joseph, tad cyfrifol yr Iesu, eithr gesyd yr hanes syml ef allan yn un o'r dynion rhagoraf o enwogion y Beibl. Gwir mai isel

o ran ei amgylchiadau yn y byd ydoedd, a chyffredin hefyd, fel yr ymddengys, o ran ei alluoedd, ond beth am ei ffyddlondeb digyffelyb i'r weledigaeth nefol, a'i ofal diflino a di-ildio am y mab bychan a'i fam? Gorchymynwyd iddo gymeryd Mair ei wraig, ac er ei holl amheuon a'i ddyryswch yn ei chylch, cymerodd hi heb yngan gair. A phan orchymynwyd iddo ffoi rhag Herod, cychwynodd yn y fan i daith faith a blin. Nid peth bychan oedd cymeryd gofal mam a baban ieuanc trwy yr anialwch gwag erchyll, taith amryw o ddiwrnodau. Eithr nid oedd dim a geisid ganddo yn ormod gan Joseph. Yr oedd o waelod ei enaid i fyny yn ddyn cywir i'r siars oedd wedi ei hymddiried iddo, o ofalu am, a magu Mab Duw. Ymddengys ei fod yn caru y bachgen a'i fam yn angerddol; hwy oedd yn ei feddwl y dydd, ac yn ei freuddwydion y nos; eu cysur a'u diogelwch hwy oedd ei bobpeth ef. Un o'r dynion anwylaf a fu ar ein daear oedd Joseph y saer; yn barchus y byddo ei enw byth, o herwydd y gofal a gymerodd am y bachgen Iesu. Gweithiodd yn galed a dirwgnach i'w fagu, er nad oedd yn fab iddo ef. Dyrchefir Joseph mab Jacob, fel siampl deilwng i ddynion ieuanc pob oes a gwlad, ac y mae yn wir deilwng i'w efelychu. Gwyn fyd na byddai holl wyr ieuanc ein cenedl yn fwy tebyg iddo; ond yr oedd Joseph y saer yn gystal dyn ag y bu mab Jacob erioed, ac yn esiampl llawn mor deilwng, fel tad a phriod, ag ydoedd y llall. Dyn dystaw, tawel iawn oedd Joseph, ac y mae ryw fodd yn hynod fod dyn a weithredodd gymaint ag ef, na chlywsem ei lais ryw bryd, yn rhyw le; ond nid oes un gair a ddywedodd erioed wedi ei gadw i ni. Gweithredwr ac nid siaradwr oedd ef.

Mae yn sicr hefyd fod y bachgen Iesu yn ei garu yntau yn fawr. Diau y meddyliai y Mab bychan nad oedd neb ar y ddaear tebyg i'w dad ef, fel y synia pob bachgen am ei riant. Gwir fod yr Iesu yn rhydd hollol oddiwrth pob drygnaws sydd yn mhlant Adda, ac yn llawn o bobpeth sydd yn gwneyd plentyn yn anwyl, felly nis gallasai dyn fel Joseph beidio ei garu.

Anhawdd, os nad anmhosibl, gwybod pa mor hir y bu y teulu yn yr Aifft, er ein bod yn tueddu yn gryf i feddwl mai ychydig o fisoedd y buont yno. Câ Joseph orchymyn i godi a chychwyn tua gwlad Judea, gan fod y rhai oedd yn ceisio einioes y mab bychan wedi meirw. Wedi cyraedd Judea, a deall fod Archelaus, yr hwn nid oedd nemawr gwell na Herod, yn teyrnasu yn lle ei dad, maent yn ofni aros yno, ac yn myned yn mlaen i Nazareth, eu hen gartref, yr hwn oedd o gyraedd Archelaus, a than lywodraeth tywysog mwy llariaidd, er iddo yntau droi allan yn ddyn cas cyn diwedd ei oes, oblegid dyma y dyn a laddodd Ioan Fedyddiwr. Nid oes gair o hanes yr Iesu na'r teulu ar ol hyn nes yr oedd efe yn ddeuddeg mlwydd oed. Wrth ddarllen hanes y pethau rhyfeddol a gymerasant le o flaen, ac yn amser genedigaeth y Mab bychan, mae yn syndod mor lleied o sylw a wnaed o honynt ar y pryd, ac fel yr anghofiwyd y cwbl yn fuan. Mae yn wir fod iselder amgylchiadau y teulu, a'u symudiad i gwr pellenig ac anghyoedd o'r wlad i breswylio, yn tueddu yn naturiol at hyn.

## PENNOD IV.

*Yr Iesu pan yn ddeuddeg mlwydd oed yn ymweled a Jerusalem—Ei gynydd boreuol—Pwysigrwydd ac amcan yr hanes—Yn gweithio ei grefft.*

Yn ol y cyfansoddiad Iuddewig, yr oedd holl wrywaid y genedl i ymddangos ger bron yr Arglwydd yn y brif ddinas dair gwaith yn y flwyddyn, sef ar wyl y Pasc, gwyl yr Wythnosau, a gwyl y Pebyll. Deut. 16:16. Ac os na allent ddod i'r tair gwyl, dysgwylid eu gweled yno ar y Pasc o leiaf. Byddai y gwragedd defosiynol hefyd yn dyfod gyda eu gwyr, yn enwedig ar yr wyl hon, a phan gyrhaeddai y bechgyn ddeuddeg mlwydd oed, yr oeddynt, meddir, yn dyfod yn "Feibion y gyfraith," a deuent gyda eu rhieni i gael eu cyflwyno i'r eglwys, ac i fod yn bresenol i weled, a chyfranogi yn y seremoniau crefyddol, ac ystyrid hwy o hyny allan yn gyfrifol drostynt eu hunain am ufudd-dod i'r deddfau seremoniol a gwladol. Yn unol a'r arferiad dda hon, daeth y bachgen Iesu gyda ei rieni i Jerusalem i fod yn bresenol ar wyl y Pasc. Yr oedd Mab y dyn yn awr yn ddeuddeg mlwydd oed. Mae yn hyfryd sefyll i syllu arno, i weled pa fath ddyn ieuanc ydyw. Y tro diweddaf y gwelsom ef, ydoedd yn faban ar fynwes ei fam, pryd y buasai yn annaturiol iddo ddweyd na gwneyd dim; ond yn awr y mae mewn cyfnod arall ar ei oes. A adawodd efe rywbeth ar ei ol ag y byddai yn ddiogel a manteisiol i ni feddwl a siarad am dano? Gwir mai yr "ymadrodd am y groes" sydd yn dwyn bywyd i'r byd, eithr nid ydym eto yn son am ei angau,

mae hyny amryw flynyddau yn mlaen. Credwn fod yn yr amgylchiad arbenig hwn, sef yn ei fynediad i Jerusalem i gadw y Pasc, belydrau o oleuni yn cael eu taflu ar y rhan a aethai heibio o'i oes, ac hefyd ar y deunaw mlynedd dylynol. Wedi treulio saith niwrnod y wledd yn y ddinas, mae y Galileaid yn troi eu hwynebau tuag adref; ac wedi teithio diwrnod cyfan, mae y fintai yr oedd Joseph a Mair ynddi yn aros i orphwys gyda eu gilydd. Dengys gwedd yr hanes eu bod yn lluosog, yn teithio yn hamddenol yn finteioedd bychain gwasgaredig, gan gyd-ymddyddan, pawb a'i stori, am y pethau mawrion a welsent yn yr wyl. Yr oedd aelodau o'r un teuluoedd ar wahan yn yr amrywiol gwmniau o'r fintai fawr, pob un yn rhodio yn rhydd yn ol ei duedd a'i archwaeth. Wedi cyraedd y man gorphwys dros nos, mae Joseph a Mair yn cael allan er eu braw a'u gofid nad oedd eu bachgen hoff yn y fintai, fel yr oeddynt hwy yn sicr yn eu meddwl ei fod. Tebygol iddynt ei weled gyda'r fintai yn hwylio cychwyn o'r ddinas, ac iddo wedi hyny gilio yn ol i'r deml. Mae yn amlwg oddiwrth fod ei rieni yn gwbl dawel yn ei gylch, heb weled un golwg arno ar hyd y dydd, gan dybied ei fod yn cydgerdded â rhai o'u cymydogion a'u cydnabod, ei fod yn arfer cymdeithasu yn rhydd â hwynt, ei fod o duedd gyfeillgar, ac yn hoff o gymdeithas. Yr oedd ei fawredd ofnadwy o dan orchudd digon tew fel nad oedd son yn ei gylch, na neb yn dysgwyl mwy wrtho na rhyw fachgenyn da arall, a thebygol fod ei sefyllfa isel yn y byd yn atalfa i'w rinweddau plentynaidd gael eu prisio yn ol eu gwerth. Cawn fod ei gymydogion ar ol hyn yn cymeryd achlysur i'w ddiystyru o herwydd

ei rieni anamlwg, a'i ddiffyg o ddygiad boneddigaidd i fyny.

Wedi cael allan nad oedd y bachgen Iesu yn y fintai gyda'i gymydogion, fel y dysgwylient, dychwelodd Joseph a Mair gyda brys yn ofidus eu calonau, i Jerusalem, i chwilio am dano. Mor debyg ydoedd y ddau o ran eu teimlad i'r Cristion ar ei daith wedi colli presenoldeb ysbryd yr Iesu. Wedi tri diwrnod—y cyntaf heb wybod ei golli, yr ail yn dychwelyd i'r ddinas, a'r trydydd yn chwilio am dano—maent yn ei gael yn un o ystafelloedd y deml, lle yr eisteddai y Doctoriaid i gyfranu addysg i ieuenctyd ac eraill a ddewisai ddyfod yn nghyd i wrando. Yr oedd yr Iesu yno, yn ol arfer ysgoleigion ieuainc yr oes, i'r rhai y rhoddid pob anogaeth i chwilio am wybodaeth. Arferai yr ysgoleigion ofyn cwestiynau i'r athrawon ar unrhyw faterion tywyll a dyrys iddynt, ac nid oedd y bachgen Iesu yn gwneyd dim nad oedd yn arferol i ieuenctyd wneyd, eto dangosai y fath wybodaeth i fachgen o'i oedran ef, nes taflu y dysgawdwyr a phawb i'r syndod mwyaf. Nid oeddynt yn adnabod y bachgen nac yn cofio dim, os clywsent, am amgylchiadau rhyfedd ei enedigaeth. Yr oedd clywed bachgen bychan gwledig, heb nemawr o ôl addysg arno, yn dangos y fath helaethrwydd o wybodaeth nes dyrysu dysgedigion penaf yr oes, yn achos digonol o syndod. Beth a allai ei ofyniadau i'r Doctoriaid fod? Tybiwn yn sicr na chyfeiliornem wrth ateb, trwy ofyn, A'i nid y fath gwestiynau ag a roddai ger eu bron wedi dyfod yn ddyn, megys, Beth a dybiwch chwi am Grist, mab i bwy ydyw? Os ydyw Dafydd yn ei alw ef yn Arglwydd, pa fodd y mae efe yn fab iddo? Pa un ydyw

y cyntaf a'r gorchymyn mawr? a'r cyffelyb, ond ei fod yn eu gofyn mewn dull plentyn o ofyn, fel nad allai y Doctoriaid dramgwyddo, eithr yn hytrach synu gyda chymeradwyaeth a hyfrydwch wrth weled bachgenyn bychan, gwirion, yn gofyn y fath gwestiynau, a'r holl goleg o ddoethion a'u llygaid arno bob un.

Mae yr oll a wyddom i sicrwydd am yr Iesu nes yr oedd yn ddeg-ar-hugain oed wedi ei gyfyngu i ddeuddeg adnod yn yr ail benod o Luc, eithr mae yr ychydig ymadroddion hyn mor gynwysfawr ac awgrymiadol, fel y gallwn yn ddiogel gasglu llawer oddiwrthynt. Mae yn wir nad allwn fod yn sicr pa mor foreu y daeth ef ei hunan i ymsyniad clir ei fod yn Fab Duw yn gystal a Mab ei fam. Mewn tawelwch, yn raddol, yr oedd ei feddwl yn ymagor ar y pethau hyn, y mae yn ymddangos, a hyny er boreu ei oes. Pe buasai rhywbeth goruwch-naturiol, gwyrthiol, yn cymeryd lle, megys y bu ar amser ei enedigaeth, mae yn debygol y buasai hanes am hyny, neu ryw gyfeiriad ato. Yn hytrach, yr oedd ei gynydd o dan ofal ei fam fel cynydd rhyw fachgen arall, ond fod ei addfwynder a'i amynedd y fath fel nad allai profedigaethau sydd yn cyfarfod plant cyffredin gael un dylanwad arno ef. Yr oedd yn addfwyn a serchog, yn barod yn wastad i roddi gwên am wên i'w fam serchoglawn. Hefyd yr oedd yn ddoeth ragorol, eithr doethineb plentyn ydoedd. Gallwn fod yn dawel a sicr oddiwrth ddystawrwydd yr hanes efengylaidd nad oedd dim pellach na hyn wedi ymddangos yn yr Iesu nes yr oedd yn ddeuddeg mlwydd oed. Cawn fod y dystawrwydd hwn wedi anesmwytho y tadau Cristionogol yn foreu, ac wedi eu cynhyrfu i geisio gwneyd i fyny y diffyg, fel

y tybient hwy, oedd yn y Pedair Efengyl, trwy ysgrifenu efengylau am fabandod yr Iesu; ac y mae yn ddigrifol sylwi gyda pha lwyddiant y cyflawnasant y gorchwyl o gyhoeddi y pumed a'r chweched Efengyl. Gwneir hwynt i fyny gan mwyaf o hanes nifer mawr o wyrthiau dychymygol a gwrthun i'r eithaf, a gyflawnwyd gan y baban, gan ei ddillad bychain, ac hyd yn nod gan y dwfr y golchid ef ynddo. Byddai eu hargraffu yn awr yn ddiraddiad ar synwyr, hyd yn nod dosbarth yr A, B, C, yn yr ysgol Sabbothol. Ysgrifenwyd hwy gan ddynion ag oedd yn dymuno anrhydeddu enw yr Iesu, a'r pedair Efengyl yn eu dwylaw ar y pryd. Eithr mor anefengylaidd yw yr Efengylau hyn, atebant un dyben pwysig, oblegid wrth eu dal ochr yn ochr â'r ysgrifeniadau sanctaidd, dangosant yn eglur nas gallai y rhai hyny gael eu hysgrifenu fel y maent, ond o dan gyfarwyddyd ac arweiniad yr Ysbryd Glan.

Mewn atebiad i gwyn ei fam o herwydd y gofid oedd wedi ei achlysuro iddi hi a Joseph, daeth y geiriau hynod hyny o eiddo yr Iesu, "Oni wyddoch chwi fod yn rhaid i mi fod yn nghylch y pethau a berthyn i'm Tad?" dros ei wefusau; a dyma y geiriau cyntaf oll a glywsom ganddo, a theimlwn yn sicr ein bod yn canfod amcan yr efengylydd yn eu cofnodi, yn nghyd a'r hanesyn sydd yn dal cysylltiad â hwynt. Dywed Luc, "A hwy ni ddeallasant y gair." Byddai yn naturiol i'r darllenydd syml feddwl nad oedd un anhawsder i'w fam ddeall y geiriau, a hi yn gwybod am ei genedliad gwyrthiol gan yr Ysbryd Glan; a naturiol iawn i ni synied y buasai ei meddwl yn ehedeg at y ffaith ryfeddol hono yn y man, a deall hefyd mai at ei Dad

yn y nefoedd yr oedd y bachgen yn cyfeirio. Ond mae yn bosibl y gellid rhoddi cyfrif am y dyryswch meddwl hwn o eiddo ei fam am nad oedd hi eto wedi dyweyd gair wrtho am ei darddiad goruchel, ond ei fod o'i fabandod hyd yma wedi ei ddysgu i alw Joseph yn dad. Os felly yr oedd y peth yn sefyll rhwng ei fam ag ef—os nad oedd hi wedi cymaint ag anadlu yn ei glust mai Mab y Goruchaf ydoedd, a bod ei dadolaeth uchel, fel y tybiai hi, yn *secret* ganddi hi ei hun, rhaid fod ei ateb yn swnio yn ddyeithriol i Mair, ac yn arddangos y gwyddai yr oll, yn nghyd a natur y gorchwyl y daethai i'r byd i'w gyflawni, a bod cyflawni y gwaith hwnw yn gwasgu mwy ar ei feddwl ieuanc na'r ddyledswydd at ei fam ei hun. Onid oes yma amcan yn dod i'r golwg o ddangos i'r eglwys fod yr Iesu yn fywiog gyda gwaith ei Dad a gwaredigaeth ei bobl yn yr adeg foreuol hon? Eithr tybiwn am foment, fod llen nad allwn weled dim trwyddi, wedi ei thaflu dros y deng-mlynedd-ar-hugain cyntaf o'i oes, ac mai yr olwg gyntaf a gawn arno ar ol ei enedigaeth oedd yn sefyll wrth ochr Ioan Fedyddiwr yn nyfroedd yr Iorddonen, yna mor naturiol a fuasai i ni synied mai y pryd hwnw y derbyniodd y wybodaeth gyntaf ei fod yn Fab Duw, ac mai yr awr hono yr unwyd y Dwyfol a'r dynol â'u gilydd. Felly, buasai boreu oes ein Gwaredwr yn ymddangos mewn gwedd arall hollol, a buasem mewn perygl o edrych ar ei fywyd blaenorol i'w ymddangosiad cyhoeddus fel eiddo rhyw bentrefwr arall. Eithr drwy yr hanes gwerthfawr, ond byr hwn, gan Luc, gwyddom yn sicr ei fod pan yn ddeuddeg oed, os nad yn gynt, yn ymwybodol ei fod yn Fab Duw; fod y Tad ynddo ef, ac yntau yn y Tad.

Gwisga hyn y deunaw mlynedd o hyn hyd ddechreu ei weinidogaeth â mawredd annirnadwy, a thafla oleuni ar yr hanes sanctaidd sydd o'r gwerth mwyaf i ni. Pan ddaeth y bachgen bach i'r deml, ty ei Dad, cynhyrfwyd ei enaid sanctaidd gan deimlad o'i berthynas oruchel â'i Dad nefol, fel y ciliodd y berthynas â'i fam o'r golwg ar y pryd. Ond gan na ddaethai ei awr cf i actio, dyoddef, a marw dros bechaduriaid, ildiodd i ddymuniad Joseph a Mair, a dychwelodd gyda hwy i Nazareth, gan guddio yn ei fynwes y gyfrinach fawreddig, a rhoddi ei hun dan lywodraeth deuluaidd, a chymeryd arno ddyledswyddau mab, brawd, cyfaill, a chymydog fel rhyw fachgen arall. Cyflawnai y cwbl mewn gwedd mor ddiymhongar a dirodres, fel nad oedd hyd yn nod ei frodyr oedd yn byw ar yr un aelwyd ag ef, erioed wedi meddwl nac ameu fod y "Duwdod ynddo yn trigo." O ganol y tywyllwch sydd yn gordoi yr ysbaid hwn o'i fywyd, wele belydr tanbaid o oleuni yn taflu ei lewyrch. Ar un golwg mae yn rhyfedd fod Luc yn adrodd yr hanesyn am fynediad yr Iesu a'i rieni i Jerusalem i'r wyl, gan mor fychan, ac mor fyr yr ymddengys ochr yn ochr â'r syniad sydd genym am y Messiah mawr a'i waith.

Wrth edrych arno fel mab Joseph a Mair, anhawdd ymfoddloni i'w waith yn gadael iddynt ymdrafferthu yn ofidus eu calonau yn ei gylch; ond wrth ystyried ei ymwybyddiaeth ei fod yn Fab Duw, a'r dadganiad o hyny wrth Mair, a'i ymadrodd yn y deml, yn cael eu dylyn gan ddeunaw mlynedd o hunan-ymwadiad, ei ufudd-dod llawn, siriol, a serchog i'w rieni tlodion, gan ymgadw oddiwrth bob cyhoeddusrwydd, ac ymroddi mewn dystawrwydd tawel i enill ei fara beunyddiol,

cawn fod yr hanes hwn gan Luc yn perffaith gydgordio â'i hanes pan y daeth allan yn gyhoeddus fel Gwaredwr pechaduriaid. Os daeth i waghau ei hun o'r gogoniant oedd iddo gyda'i Dad cyn bod y ddaear, i gymeryd arno agwedd gwas, i wneuthur gwasanaeth, ac nid i'w dderbyn, nid i wneuthur ei ewyllys ei hun, ond ewyllys yr hwn a'i hanfonodd, eglur yw mai nid yn ystod tair blynedd a haner ei weinidogaeth gyhoeddus yn unig yr oedd ei neges fawr i'r byd yn cael ei chyflawni. Yr ydym yn dueddol, efallai, i roddi rhy fach o werth ar ymneillduaeth y Duw-ddyn yn Nazareth, trwy fod ein golwg yn cael ei orchfygu gan ddysgleirdeb ei ogoniant pan y daeth allan yn gyhoeddus fel Mab y Goruchaf. Mae ystyr yn yr hon y mae mwy o ddyddordeb i ni yn y deng-mlynedd-arhugain cyntaf o'i oes nag yn ei diwedd, oblegid yr oedd yr ysbaid boreuol hwn yn fwy tebyg i'r bywyd yr ydym ni yn ei arwain. Yr oedd yr Iesu yn Nazareth yn fwy o esiampl i ni nag yn Gethsemane, ac ar Galfaria, ac nid oedd yn llai yn Fab Duw pan yn gweithredu ufudd-dod drosom na phan yn marw yn ein lle. Gwers fawr ei fywyd yn Nazareth a ddangosir yn yr ystori fer hon, ydyw ein dysgu i wneyd ewyllys ein Tad nefol gyda'n gorchwylion dyddiol yn y maes, y gweithdy, a'r masnachdy yn gystal a chyda dyledswyddau cyhoeddus crefydd.

Ar ddiwedd yr hanesyn byr hwn dywed Luc ddarfod i'r Iesu fyned gyda Joseph a Mair i Nazareth, "ac efe a fu ostyngedig iddynt." Gair tra arwyddocaol a gwerthfawr yw hwn. Gras digon prin yn mysg Cymry America ydyw gostyngeiddrwydd; ond yr oedd yn gyflawn yn yr Iesu. Rhan sylweddol o grefydd bach-

gen deuddeg oed ydyw bod yn ufudd a gostyngedig i'w rieni. Gallwn ganfod yn y goleu hwn fod cyfraith yr Arglwydd o fewn calon y Mab bychan o'i fabandod. Yr oedd hyn yn ernes o'i ymostyngiad i ewyllys ei Dad yn y dyfodol. Diau genym ei fod yn gwneyd pob gwasanaeth a allai yn y teulu, yn barod at bob gorchwyl a fedrai, er ysgafnhau llafur ei dad a'i fam, a phan ddaeth digon o nerth yn ei fraich, dechreuai helpu ei dad cytrifol yn y gweithdy. Nid mab y saer oedd Iesu, ond yr oedd yn saer ei hunan, fel y tybiwn yn sicr oddiwrth yr hanes, a diau genym ei fod yn saer da, yn grefftwr o'r fath oreu, oblegid gwyr pob bachgen ieuanc call fel efe, mai peth diystyrllyd ydyw bod yn grefftwr gwael, a bod y cyfryw yn nôd i'r cellweirwr dideimlad i ollwng ei saethau ato, ac mai ychydig ydyw y cydymdeimlad a dderbynia y fath gan ei gydweithwyr. Nis gallwn am fynyd oddef y syniad mai crefftwr felly oedd y llanc Iesu. Wrth edrych ar ddodrefnyn a wnaethai ei law, neu dy a adeiladasai, byddai yn sicr o dynu allan y sylw, ei fod yn waith llaw celfyddydwr. Mae bod dyn yn weithiwr da yn foddlonrwydd mawr i'r dyn ei hun, ac yn cario ei ddylanwad yn mhell.

Byddai yn afresymoldeb, os nad yn gabledd, i synied fod yr Iesu yn bwyta bara seguryd, gan bwyso ar ei dad cyfrifol am ei gynaliaeth, tra yr oedd efe ei hunan yn abl i'w enill. Trwy hyn hefyd y deuai i gydymdeimlad hollol a'r bobl; nid ag ychydig foneddigion, ond a'r bobl gyffredin y rhai a ffurfiant gorff mawr y teulu dynol. Mor ddymunol ydyw canfod a chofio mai un o honom ni, ydym yn enill ein bara i ni ein hunain a'n teuluoedd trwy chwys y wyneb, yd-

oedd Iesu Grist. Gwyr ef trwy brofiad am ein holl ofalon a'n gwasgfeuon, oblegid enillodd yntau hefyd ei fara trwy lafur. A phan ddaeth i'r wyl fawr yn Jerusalem, bachgen o ddifrif ydoedd ef. Nid llygadrythu ar adeiladau mawrion a theg y ddinas freninol, a rhyfeddu y gwahaniaeth rhyngddynt a'i gartref bychan syml ef yn Nazareth yr ydoedd. Cynyddai y bachgen Iesu yn gyflym hefyd, a phe byddai i fechgyn o'i oedran ef ymroddi mor egniol ag ef, cynyddent hwythau hefyd. Gresyn na byddai ychwaneg o ysbryd yr Iesu, yn yr ystyr yma yn mechgyn a merched bach ein cenedl. Ond, meddir, yr oedd y bachgen Iesu yn Dduw, a pha ryfedd ei fod ef yn cynyddu? Digon gwir, eithr nid am hyny yr ydym yn son yn awr; daw hyny i'r golwg yn ei amser priodol mor eglur na feiddia neb ei ameu. Ond mor sicr a hyny yr oedd yn ddyn, mor wirioneddol ag un Cymro bychan, ac angenrhaid oedd iddo ef wneyd ymdrech i gynyddu yn ffafr Duw a dynion, fel rhyw lanc arall. Gwyr yr Arglwydd Iesu trwy brofiad y fynyd hon, pan y mae yn eistedd ar ddeheulaw ei Dad, am deimlad y bachgen tlawd sydd dan yr angenrheidrwydd o fod yn gynil a diwyd i gyraedd angenrheidiau natur. Gwyr am yr awydd sydd yn mynwes llawer Cymro ieuanc am ragor o wybodaeth naturiol a chrefyddol yn nghyd a'i ddymuniad cryf am ryngu bodd Duw a dynion; ac mae y cyfryw fachgen yn hoff ganddo.

Daeth yr Iesu yn mlaen o dan lawer o anfanteision, o herwydd amgylchiadau isel y teulu, er na fynem mewn un modd roddi lle i'r syniad eu bod yn rhyw ysglyfaeth i dlodi. Nid rhai felly oeddynt, ond teulu, trwy ddiwydrwydd, yn ymgadw o'r pwll anghysurus

4

hwnw. Naturiol ydoedd i'r bachgen hwn ddyfod i ffafr Duw a dynion mewn canlyniad i'w ymdrechion ei hun; ei enill yn deg a ddarfu. Hoffder yr Anfeidrol o hono fel gwr ieuanc rhinweddol a feddylir yma pan y sonir ei fod yn cynyddu yn ffafr Duw. Ynfydrwydd fyddai son am gynydd ynddo mewn un wedd, fel yr oedd yn un o'r personau dwyfol. Cynyddai y ffafr yma fel yr oedd ef yn ei theilyngu, ac fel yr oedd ei ddynoliaeth yn dyfod yn fwy galluog i'w derbyn a'i phrisio. Am iddo roddi ei galon i lwyr nesâu at Dduw y derbyniai ei ffafr. Wrth siarad fel hyn, nid ofnwn am foment godi cwmwl rhwng y darllenydd a'i Dduwdod, mwy nag yr ofnwn i ddynsawd sefyll rhyngom â'r hawl i'w guddio oddiwrthym; eithr nis gallwn mewn un modd ollwng o'n gofal y syniad ei fod yn ddyn yr un ffunud a ninau, oblegid o ochr ei ddynoliaeth y mae efe yn perthyn mor agos i ni. Wedi dod a'r bachgen Iesu i'r golwg fel hyn am ychydig ddyddiau, pan yn ddeuddeng mlwydd oed, yr ydym yn ei golli yn yr hanes sanctaidd nes yr oedd yn ddengmlwydd-ar-hugain, pan y daw i'r golwg eto yn mhrydferthwch ei berson gogoneddus.

## PENNOD V.

*Ioan Fedyddiwr a'i bregethau tanllyd—Bedyddiad yr Iesu ganddo.*

Pan oedd yr Arglwydd Iesu o gylch deg-ar-hugain oed, yr adeg y byddai yr offeiriaid yn dechreu gweinyddu eu swydd yn y deml, rhoddodd ei orchwyl o'r neilldu, ac ymgyflwynodd i'w swydd fel Iachawdwr y byd; eithr cyn ymadael, a ffarwelio megys a'r teulu anwyl yn Nazareth, goddefer i ni ddyweyd gair yn rhagor yn eu cylch. Trigasai yr Iesu mewn tawelwch a neillduaeth gyda ei rieni, neu yn hytrach, yn awr gyda ei fam weddw, fel y tybiwn yn sicr, oblegid cydnabyddir rhesymoldeb y golygiad fod Joseph wedi marw yn ystod y deunaw mlynedd a aethent heibio. Arweinia gwedd yr hanes ni yn naturiol i feddwl fod Joseph yn llawer hŷn na Mair ei wraig, a'i fod ef yn wr o addfedrwydd oedran pan yn ei phriodi, ac felly yn llawer mwy cymwys i gymeryd arno y siars o fagu Mab Duw na phe buasai yr un oedran a hi. Galwai yr amgylchiadau cyfyng yr oedd i fyned trwyddynt am ddyn o brofiad ac addfedrwydd barn, ac ymddengys fod Joseph yn eu meddu i raddau helaeth iawn. Os cywir y syniad hwn, yr oedd efe yn hynafgwr cyn i'r Iesu gyraedd deg-ar-hugain oed. Diau fod hoffder mawr, cariad cryf rhwng yr hen a'r ieuanc, a thalwyd yn ol yn helaeth i Joseph am yr holl garedigrwydd a'r anwyldeb oedd wedi dreulio ar yr Iesu. Yr oedd Joseph yn wir deilwng o hyn os bu dyn erioed yn teilyngu rhywbeth, a theimlwn yn dda fod ganddo y fath un i wasanaethu arno yn ei gystudd olaf, i gynal ei ben pan

ar ei wely angau, i dywallt ffrwd o ddagrau ar awr ei farwolaeth, ac wrth hebrwng ei gorff i dy ei hir gartref.

Ond rhoddwn gam yn ol i'r adeg yr oedd yr Iesu yn bymtheg oed. Tua'r adeg hon bu Augustus Cæsar farw. Ag ystyried mai pagan ydoedd, yr oedd yn llywodraethwr cyfiawn a thadol tuag at ei ddeiliaid. Esgynodd Tiberius Cæsar orsedd yr ymerodraeth Rufeinig yn ei le, a pharhaodd ei deyrnasiad hyd y flwyddyn A. D. 37. Tua'r flwyddyn 26, apwyntiodd Pontius Pilat yn rhaglaw ar Judea fel is-swyddog o dan Cyrenius, llywodraethwr Syria. Yr ydym yn awr yn dynesu at yr adeg bwysig a soniwyd, o ymddangosiad yr Arglwydd Iesu Grist yn ei weinidogaeth gyhoeddus. Yn rhagbarotoawl i hyn, dechreuodd Ioan Fedyddiwr ar ei weinidogaeth gynhyrfiol, danllyd, a hyny fel y dywed amryw o'r cysonwyr, ar ddydd mawr y cymod, yn mis Hydref, A. D. 30. Yr oedd hynodrwydd mawreddog yn holl symudiadau a dull y gwr rhyfeddol hwn. Mae y tri Efengylwr cyntaf yn coffau proffwydoliaeth Esaia am dano, "Llef un yn llefain yn y diffaethwch," &c. Dyben llef ydyw cyffroi a thynu sylw pawb fyddo yn y clyw, at unrhyw wrthrych, a dyna hi yn darfod yn y man. Cyffelyb i hyn ydoedd gweinidogaeth Ioan Fedyddiwr yn ei hamcan. Bloedd uchel, gynhyrfus ydoedd, yn galw sylw y bobloedd i edrych a syllu ar Oen Duw, yr hwn oedd i dynu ymaith bechodau y byd, ac yna yn dystewi yn y man. Dywed Luc ar ol rhoddi hanes ei enedigaeth a'i gynydd boreuol, iddo aros yn y diffaethwch hyd y dydd yr ymddangosodd efe i'r Israel. Wrth hyn, deallwn ei fod yn byw mewn neillduedd, heb gymdeithasu ond ychydig â'r byd, gan ymgynal ar gynyrch naturiol yr

anialdir, sef locustiaid a mel gwyllt. Mae yn syniad dyeithr i ni fod dyn yn byw ar y fath ymborth; eithr dywed Josephus iddo ef ei hunan fod yn byw am dair blynedd gyda ei athraw Banus, ar yr hyn yn unig a allent bigo i fyny yn y diffaethwch. Yr oedd digonedd o fêl i'w gael yn llifeirio o'r creigiau oddiwrth heidiau o wenyn gwylltion oedd yn eu hagenau.

Nid oedd Ioan yn dylyn un alwedigaeth, nac yn pwyso ar neb am ei gynaliaeth. Yr oedd tebygrwydd mawr ynddo i'r hen Elias y Thespiad, a gelwir ef yn y proffwydoliaethau am dano yn Elias. Fel ei ragflaenor, yr oedd yn debycach i frodor o'r byd anweledig nag i ddynion cyffredin ein daear ni. Yn yr adnodau olaf o'r Hen Destament cawn gan Malachi ymadrodd tra hynod, "Yr wyf yn anfon i chwi Elias y proffwyd cyn dyfod dydd mawr ac ofnadwy yr Arglwydd." Oddiwrth yr ymadrodd hwn, yn nghyd ag eraill, yr oedd yr Iuddewon wedi casglu fod Elias i ymddangos fel rhagflaenor y Messiah, a choffaent yn feunyddiol yn eu gweddiau am iddo brysuro i ymddangos. Gwyddent nad oedd efe wedi profi marwolaeth fel dynion eraill, ond wedi ei gymeryd oddiar y ddaear mewn corwynt. Tybient fod ei gorff wedi ei buro oddiwrth bob peth llygradwy pan y cymerwyd ef i fyny i'r awyr, a'i fod mwy yn gallu byw heb fwyd na diod. Ni fynent ei fod wedi myn'd i nef y nefoedd, ond i ryw le cyffelyb i'r hwn y gyrwyd Adda allan o hono, a'i fod yn gorwedd yno dan gysgod pren y bywyd, a phan y byddai rhyw daro mawr ar y genedl, y byddai yn dyfod allan i'r byd. Ystyrid ef fel math o warcheidwad dros ei helyntion, cadwai ei lygad yn wastadol ar achos ei bobl, a rhydd y traddodiad-

au Iuddewig hanes llawer ymweliad o'i eiddo, yn nghyd a'i addysgiadau iddynt, a dysgwylient iddo wneyd ei ymddangosiad yn gyhoeddus a gweledig fel rhagflaenor y Messiah. Meddai yr Iuddewon feichiau o'r fath ysbwrial a hyn, a mynych y byddai gorchymynion Duw yn gorfod sefyll o'r neilldu i roddi lle iddynt. Eithr dengys yr efengylwyr yn eglur mai nid Elias yn bersonol, ond mai Ioan Fedyddiwr oedd i fod yn rhagflaenor i'r Messiah, ac i ddyfod allan yn ysbryd a nerth Elias, yn wrth-gysgod o Elias, fel yr oedd y Messiah ei hun yn wrth-gysgod o Dafydd; ac mae yn deilwng o sylw fod Malachi yn rhoddi yr enw swyddol "Elias y proffwyd," ac nid Elias y Thespiad, fel y gelwir ef yn llyfrau hanesyddol yr Hen Destament. Cydnabyddai ein Hiachawdwr ei hun Ioan fel yr Elias y proffwyd y sonid am dano. Yr oedd llawer o debygolrwydd yn y ddau yn eu swydd, ac yn eu nodweddiad personol hefyd. Galwai y ddau ar y bobl i edifeirwch; peryglai y naill a'r llall eu bywydau i draddodi y gwirionedd yn ddidderbyn-wyneb wrth freninoedd a mawrion y wlad. Hoffai y ddau unigedd digymdeithas yn y diffaethwch, a gwisgent yn bur debyg i'w gilydd yn ngwisg syml y dosbarth iselradd o'r bobl, yn nghyd a gwregys o groen am eu lwynau.

Yn ol yr hanes yn Marc, dechreuodd Ioan bregethu a bedyddio yn niffaethwch Judea, ardal greigiog a sech yn nghwr dwyreiniol llwyth Juda, nid yn mhell o Engedi, lle y buasai gwinllanoedd gan Solomon. Yn y gymydogaeth hon hefyd y bu Dafydd yn crwydro o ffordd Saul. Taith ychydig oriau o Bethlehem ydoedd, ac nid oedd yn mhell o gyffiniau Môr Sodom. Ar ben un o'r bryniau yn y gymydogaeth hon y safai

Abraham yn edrych ar fwg y dinasoedd annedwydd yn esgyn i fyny tua'r nef. Ychydig dir triniadwy oedd i'w gael yno, ond yr oedd yno borfeydd rhagorol i ddefaid, fel y gellir casglu oddiwrth hanes Dafydd a'i helyntion. Treuliodd Ioan foreu ei oes yn y wlad fryniog a haner cyfaneddol hon, ond eto nid naturiol i ni feddwl ei fod, er yn fachgen, yn crwydro ar hyd y bryniau, gan lechu mewn ogofeydd fel meudwy, a byw fel creadur gwyllt ar gynyrch yr anialdir. Byddai syniad felly yn gwbl annheilwng o'r dyn. Gwyddom fod ei dad a'i fam yn oedranus pan y ganwyd ef, a golygu iddynt fyw yn hir-hoedlog, rhaid eu bod bellach, yn ol cwrs amser, er's llawer dydd wedi myned i ffordd yr holl ddaear. Hefyd, rhaid i ni synied fod Ioan yn moreu ei oes wedi cael addysg briodol i'w sefyllfa fel offeiriad, er ei wneyd yn gymwys i wasanaethu y swydd pan gyrhaeddai ddeg-ar-hugain oed, er nad yw yn debyg iddo ei gwasanaethu o gwbl, o herwydd iddo gael ei alw gan Dduw ffordd arall. Diau fod ei rieni wedi ei hysbysu am amgylchiadau rhyfedd ei enedigaeth, yn nghyd a'i Nazareaeth i Dduw o groth ei fam, ac fod yr ystyriaeth o hyn yn dylanwadu yn ddwys ar ei feddwl, fel ag i beri ei fod yn wr ieuanc duwiol iawn, a rhoddai hyn nerth ac yni yn ei bregethau. Diau iddo aros yn nhy ei rieni tra y bu yr olaf o honynt byw, ac iddo ar ol colli ei gartref ymroddi i fyfyrdod mewn ymneillduaeth er ymbarotoi i'r gorchwyl oedd o'i flaen.

Fel y crybwyllwyd, yr oedd yn Nazaread i Dduw o'r bru, ac wedi ei barotoi gan yr Ysbryd Glan i fod yn rhagflaenor i'r Duw-ddyn. Yr oedd megys yn corffori yn ei ysbryd ddeddf Moses a'r Efengyl, yn nes-

af i Grist, yr hwn oedd diwedd y ddeddf, a chyflawniad yr holl addewidion. Am hyny, efallai, y galwai yr Iesu ef y mwyaf yn mhlith plant gwragedd. Perthynai ef, er hyny, i oruchwyliaeth ragbarotoawl yr Hen Destament, ac yr oedd, gan hyny, yn llai na'r lleiaf o dan yr efengyl. Nid teilyngdod personol a feddylir, ond sefyllfa swyddol. Galwai Ioan ar y bobl i edifarhau a chael eu bedyddio. Arwyddai hyny fod y lluaws yn aflan, ac yn eu cyflwr presenol yn hollol annghymwys i deyrnas Dduw, sef teyrnas y Messiah, yr hon oedd yn nesâu, ac i gael ei gosod i fyny yn ddioed. Parotoi y bobl at hyn oedd amcan bedydd Ioan. Yr oedd y syniad o fedydd, neu ddefnyddio dwfr, mewn ystyr arwyddocaol, yn hysbys i'w wrandawyr trwy yr amryw olchiadau seremoniol. Eglur yw mai nid bedydd efengylaidd oedd bedydd Ioan, er fod ei arwyddocad yn gyffelyb, sef arwydd allanol o lanhad oddiwrth aflendid ysbrydol. Eithr nid oedd yn enw y Drindod, ac yr oedd yr oruchwyliaeth seremoniol i barhau amryw flynyddoedd ar ol hyn ; a phan ddaeth yr amser i'r bedydd efengylaidd ddechreu, yr oedd y rhai a fedyddiasid gan Ioan yn cael eu bedyddio drachefn gan yr apostolion.

Wedi, yn gystal a chyn dechreu ei weinidogaeth, cadwai Ioan yn mhell oddiwrth y dinasoedd a'r trefi ; eithr yr oedd cymaint o hynodrwydd ynddo, fel yr heidiai trigolion moethus y dinasoedd mawrion wrth y miloedd i'w wrando. Yn mhen rhyw gymaint o amser wedi dechreuad ei weinidogaeth, gadawodd Ioan ei ardal enedigol, gan wneyd ei ffordd tua glanau yr Iorddonen, gan bregethu yn danllyd, a bedyddio pawb a broffesent edifeirwch. Rhyfeddai weled cynifer o

Phariseaid a Saduceaid yn dyfod yn mlaen i dderbyn ei fedydd, oblegid gwyddai fod y Phariseaid yn proffesu y sancteiddrwydd uchaf, ac nad ystyrient fod ganddynt bechodau i'w maddeu, nac aflendid eisiau ei buro. Credai y Saduceaid nad oedd cosb am bechod. Gellid meddwl oddiwrth wedd yr hanes nad oedd Ioan yn dysgwyl i'w weinidogaeth gael y fath effaith ar ei gydgenedl, oblegid gwyddai eu bod yn pwyso ar gyfamod Duw ag Abraham eu tad am ffafr Duw. Tystiai Ioan fod yr Arglwydd yn myned i wyntyllio ei bobl, i ysgar yr us oddiwrth y gwenith, ac na byddai i'r annheilwng un rhan yn y deyrnas oedd ar gael ei gosod i fyny; fod y fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y prenau, a'r cymynwr megys wedi ymddiosg at ei orchwyl o dori i lawr bob pren diffrwyth, a phob pren nad oedd yn dwyn ffrwyth da.

Er cloddio yn ddyfnach dan seiliau eu gau obaith, a'u digywilydd-dra digyffelyb, yn dysgwyl ffafr Duw am eu bod yn hâd Abraham, tra yn ymdroi yn eu pechodau, gwaeddai mewn ymadrodd cyffrous, "O, hiliogaeth gwiberod, pwy a'ch rhybuddiodd chwi i ffoi rhag y llid a fydd?"—ymadrodd cryf ryfeddol, yn cyfeirio at athrawiaeth y sectau hyn, ydoedd fel gwenwyn y wiber yn lladd eneidiau dynion. Dangosai hefyd ei amheuaeth a'i anymddiried o gywirdeb eu hegwyddor, gan ddweyd, "Dygwch gan hyny ffrwythau addas i edifeirwch, ac na feddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, Mae genym ni Abraham yn dad i ni, oblegid dichon Duw o'r meini hyn gyfodi plant i Abraham," gan gyfeirio at y ceryg oedd ar daen o'u hamgylch, a thrwyddynt mewn alegori digon hysbys iddynt, at y pechaduriaid llawn mor gelyd, sef y publi-

canod a'r pechaduriaid oedd yn sefyll o'u hamgylch. Rhoddai Ioan ergyd marwol i obeithion ei wrandawwyr am dderbyniad i deyrnas y Messiah trwy gyfamod Abraham; yna cyhoeddai fod ffordd newydd i ffafr Duw ac i deyrnas y Messiah trwy ddyffryn edifeirwch. Yr oedd y dull arswydlawn y traddodai ei ymadroddion yn cyffroi ac yn brawychu y bobl, a gwasgai y lluoedd cymysg yn mlaen yn llawn pryder i ymofyn pa beth a wnaent. Mae'n eglur fod y pregethwr yn llawn yni, ac wedi bod yn myfyrio mewn unigedd ar fater ei bregeth, fel pan ddeuai i'w thraddodi yr oedd yn naturiol yn cymeryd tân oddi wrthi. Bron nad anturiwn sibrwd yn ddystaw wrth fy nghyfeillion cyhoeddus, y rhai yr wyf yn eu caru ac yn eu parchu yn fy nghalon, Myfyriwch ar eich testynau mewn dirgelfanau, ymlenwch â'r Ysbryd Sanctaidd nes enyn tân yn eich calon, fel pan y delo eich wynebau i'r golwg yn yr areithfa y bydd i'w ganfod yn fflamio yn eich llygaid. Mae y wynebpryd yn arddangosiad pur gywir o'r hyn sydd o fewn dyn. Gwel y gwrandawr difraw y fflam, teimla angerdd y tân nes cyffroi ei holl enaid, ond cyffyrddiad o eiddo yr Ysbryd Glan yn unig a all enill ac achub a gwneyd eich gwrandawyr yn goron gogoniant i chwi pan ymddangosa yr Arglwydd Iesu ar gymylau y nef. Athrawon yr ysgol Sabbothol, gallaf siarad yn uwch wrthych chwi, oblegid brodyr o'r un urdd ydym; mae arnom ninau eisiau yr un peth. Dyma beth oedd parotoi y ffordd o flaen y Messiah. Pobl fel hyn, ond iddynt fod yn gywir yn eu proffes, a gaent groesaw gan yr Iesu.

Braidd na feddyliem fod amcan neillduol gan Ioan yn ei fynediad at lanau yr hen Iorddonen, heblaw cael

cyflawnder o ddwfr. Cymerasai cynifer o bethau hynod le yno, fel yr oeddynt wedi suddo yn ddwfn yn nheimlad crefyddol y genedl. Gerllaw i'r fan hon y trodd yr Iorddonen yn ei hol i roddi llwybr sych i'r genedl i fyned i Ganaan. Yno y bu Elias yn cyflawni amryw o'i wyrthiau, ac Eliseus ei ddysgybl, ar ei ol; oddi yno y cymerwyd ef mewn cerbyd tanllyd i fyny i'r nef. Yr oedd torlanau yr hen afon yn gysegredig yn nheimladau ei wrandawyr, a thynai hyn hwy yn lluoedd i'r lle; ac yr oedd yr hen ffrwd barchus yn awr yn ateb dyben ei rhediad, gan ddisychedu y miloedd a ymgasglent at ei glanau. Prin y credwn y gwnaem gam a lluaws o'r Phariseaid a'r Saduceaid pe amheuem gywirdeb eu dybenion. Bron na thybiem fod lluaws o honynt yn ofni cael eu cyfrif yn elynion i'r Messiah, ac yn dymuno cadw wyneb i Ioan am y gallai fod cysylltiad rhyngddo a'r Messiah y tystiai am dano, ac y buasai derbyn bedydd Ioan yn rhwyddhau eu ffordd i'w ffafr. Cydnabyddid yn gyffredin fod Ioan yn broffwyd, a thybiai rhai, feddichon, mai efe ei hun oedd yr un oedd ar ddyfod. Cyrchai y bobloedd i'w wrando o Judea, Galilea, a'r gwledydd o amgylch. Cawn yn hanes Paul, fod yn Ephesus, yn Asia leiaf, rai fuasent yn ei wrando. Buasai Apolos, gwr o'r Aifft, yn ei fedydd. Cymerai Ioan y gofal mwyaf i hysbysu ei wrandawyr nad efe oedd y Messiah, ac nad oedd dod i'w fedydd ef yn sicrhau iachawdwriaeth neb; nad oedd ei fedydd dwfr ef ond arwydd allanol, ac mai dyna mor belled ag y gallai ef a'i fedydd fyned—y bedyddiai yr un mawr oedd ar ddyfod, â'r Ysbryd Glan ac a thân—goruchwyliaeth lem, dreiddgar i'r eithaf; a chyda ei wyntyll yn ei

law y byddai yn puro fel na cheid ar ei lawr dyrnu ef ond y gwenith pur.

Wedi i Ioan fod yn bedyddio a phregethu am amryw fisoedd, nes dod yn destyn sylw a siarad holl wlad Canaan a'r gwledydd cylchynol—oblegid yr oedd y floedd yn y diffaethwch wedi peri i bawb godi eu penau i sylwi a gwrando—daeth yr Iesu allan o'i neillduaeth yn Nazareth, gan gyfeirio ei lwybr at lan yr Iorddonen. Yr oedd rhwng y ddau le o leiaf driugain milltir. Wedi cyraedd y fan, galwodd ar Ioan i weinyddu ei fedydd arno. Nis gallai fod angen ar yr Iesu pur a glân am ddim a arwyddid yn y bedydd, eithr dewisai roddi cymeradwyaeth a chadarnhad i fedydd Ioan. Rhoddai hyn hefyd achlysur i'w Dad ddangos cymeradwyaeth gyhoeddus iddo cyn dechreu ar ei weinidogaeth. Yr ydoedd yr Arglwydd Iesu yma yn ymgyflwyno ac yn cael ei gysegru i'w swydd fel Messiah. Ei reswm ef i Ioan, pan yn gwarafun ei fedyddio, oedd, "Canys fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder." Daeth yr Iesu mawr i le dyn oedd yn ngafael pechod. Daeth i lawr, i lawr, i'r dyfnder nes cyrhaeddyd y man y gorweddai y pechadur iselaf. Mynodd weled a theimlo gwaelod y pydew, fel y gallai ddyfod â'r iselaf i fyny yn ei freichiau.

Dywed Ioan nad oedd yn adnabod y Messiah, ond prin yr ystyriwn fod y geiriau yn meddwl nad oedd wedi gweled wyneb ac yn adnabod yr Iesu. Yr oeddynt yn geraint o waed, a chydnabyddiaeth yn cael ei gadw i fyny rhwng y teuluoedd. Tybiwn ei fod yn adnabyddus i Ioan fel gwr ieuanc duwiol a sanctaidd arbenig, a hyn a barai i Ioan arswydo gweinyddu ei fedydd arno, oblegid nid i rai tebyg i'r Iesu y bwriad-

id ei fedydd ef. Teimlai Ioan y buasai yn llawer mwy gweddaidd i'r Iesu weinyddu bedydd arno ef, oblegid y rheol ydyw, "Yr hwn sydd leiaf a fenditbir gan ei well." Ond nid oedd Ioan yn adnabod yr Iesu, nac i'w adnabod ychwaith gyda sicrwydd dibetrusder, fel "yr un oedd ar ddyfod," nes y gwelai yr Ysbryd yn disgyn arno, a chlywed y llef o'r nef yn cyhoeddi hyny. Pur naturiol i ni feddwl fod Ioan Fedyddiwr yn myned trwy ei wasanaeth mewn trefn reolaidd, yn pregethu yn gyntaf nes dylanwadu yn ddwys ar y torfeydd, yna yn gweinyddu bedydd ar bawb a ddelai yn mlaen gan broffesu edifeirwch. A phan yn bedyddio fel hyn, y naill ar ol y llall, a'r miloedd edrychwyr yn sefyll yn syn ar dorlanau yr afon, wele wr ieuanc dyeithr, i'r dorf yn gyffredin beth bynag, yn nesau yn mlaen, heb nemawr wahaniaeth rhyngddo ag ereill. Ond wrth edrych yn graff arno, gallesid canfod difrifoldeb a mawredd tawel yn ei wedd, yn cael ei leddfu gan bob peth a allai fod yn ddeniadol yn y natur ddynol. Dichon y gallasai y personau oedd agosaf i lan y dwfr glywed yr ychydig ymadroddion hynod a basiodd rhwng y bedyddiwr a'r bedyddiedig, er na allent ond yn brin ddirnad eu hystyr.

"A'r Iesu wedi ei fedyddio a aeth yn y man i fyny o'r dwfr." Ac yna y mae golygfa ryfeddol ac annirnadwy yn cymeryd lle; a chan i'r Ysbryd Glan weled yn dda roddi darluniad i ni o'r olygfa, gall y meddwl roddi cam yn ol ddeunaw cant o flynyddoedd, ac i lan yr Iorddonen, ac yno sefyll i edrych drosto ei hun ar y weledigaeth. Wele y nefoedd uwchben yn agoryd, tawch ac aneglurder ein hawyrgylch yn clirio ar bob llaw nes gall y llygad ganfod i fyny i'r eangder pell.

Yna disgyna yr Ysbryd Glan fel colomen, neu fel symudiad prydferth y golomen ar ei haden gan aros ar yr Arglwydd Iesu, a chlywir llef o'r nef yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Dywed Luc fod yr Iesu yn gweddio ar y pryd. Saeth-weddi, gweddi ddystaw, gweddi yn yr Yspryd Glan, heb roddi llafar iddi, mae'n debyg, ydoedd, oblegid yr ydym yn synied fod y dorf ar lan yr afon yn gweled ac yn clywed y cwbl. Ai nid oes yma arddangosiad bwriadol o athrawiaeth fawr y Drindod? Yr ail berson o dan orchudd ddynol, y trydydd mewn ffurf neu ar ddull colomen, a'r person cyntaf yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab."

Wedi derbyn y fath dystiolaeth glir o'i Fessiaeth yn gyhoeddus, buasai yn naturiol i'r torfeydd ddysgwyl iddo fyned rhag blaen i Jerusalem, eisteddle y llywodraeth, i ddangos i bendefigion y genedl ei fawredd a'i ogoniant. Ond yn lle hyny cyfeiria yr Iesu ei wyneb tua'r anialwch, yn cael ei arwain gan yr Ysbryd yno i'w demtio gan ddiafol. Mewn perthynas i leoldeb yr anialwch hwn, y golygiad esmwythaf genym ydyw, mai y gymydogaeth ddiffaeth a elwir yn awr Quarantina ydoedd; enw yn tarddu oddiwrth yr amgylchiad hwn, a gorwedda y lle yn uwch i'r gogledd na'r man yr oedd Ioan yn bedyddio, rhwng Jerusalem a Jericho, gan ymestyn i fyny gyda glan yr Iorddonen. Mae yn dir uchel, a bron yn gwbl amddifad o fywyd llysieuol, yn llawn creigiau serth, cymoedd dyfnion, a dim ond gwylltfilod yn cyniwair drwyddo. Wrth ei draed y tardd y ffrwd ddwfr y darfu i Eliseus iachau ei dyfroedd gwenwynig. 2 Bren. 2:19. Yr oedd yn lle anghysurus ac arswyd-

lawn i natur dyner yr Iesu. Dyben mawr yr ymneillduad hwn o olwg ac o glyw dynion ydoedd i gymdeithasu a'i Dad, er parotoi ei hun at y gwaith mawr oedd o'i flaen. Fel y soniwyd eisoes, ein syndod ydyw, mai yn adeg ei fedydd a'i gyflwyniad i'w swydd fel gwaredwr pechaduriaid, yn nghyd a thystiolaeth ei Dad iddo fel y cyfryw, a disgyniad yr Ysbryd Glan arno, y daeth yr Arglwydd Iesu i lawn ymdeimlad o bwys arswydlawn y gwaith yr oedd wedi ymgymeryd ag ef; ei fod, i raddau o leiaf, wedi ei adael yn rhydd oddiwrth ofal, i dyfu i fyny a chynyddu yn mhob doethineb a deall fel gwr ieuanc. Mae yn wir y gwyddai pwy ydoedd, a pha beth oeddei neges yn y byd, pan yn ddeuddeg mlwydd oed, eithr yn awr ac am y gweddill o'i oes ar y ddaear, teimla i'r eithafoedd gyfrifoldeb a chanlyniadau y cyfamod a wnaethai a'i Dad yn y tragywyddoldeb pell. Naturiol iawn, os yw y golygiad hwn yn gywir, oedd iddo ddymuno cael bod ar ei ben ei hun am yspaid, i ymbarotoi ac ymwregysu at y gwaith. Ac er ei fod yn Dduw-ddyn, a holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol ynddo, gofynai y gwaith oedd wedi ymgymeryd ag ef ei holl nerth er dod trwyddo yn llwyddianus. Dyma yr un a greodd y bydoedd a'u preswylwyr â gair o'i enau; â gair y daeth â'r cread mawr i fod, ac anadliad o'i eiddo a ddygodd enaid dyn, ei brif gampwaith, i fodolaeth dedwydd. Mae gwedd hamddenol ar y Duw mawr wrth greu, ond pan y daeth i brynu dyn, newidia holl wedd yr hanes yn hollol. Gwr ar ei egni ydyw; ceidw ei waith ef yn effro ddydd a nos, a chawn ef unwaith, a hyny ar noswaith oer, yn chwysu gwaed o dan bwys y gwaith. Yr oedd achos dyn

wedi myned i'r fath ddyryswch, a'r fath anhawsderau mawrion ar ei ffordd, fel, gyda pharch y dywedwn, yr oedd yn tasgu holl nerthoedd yr Emmanuel ei hun i'w gael yn rhydd.

Yr oedd rhyw erthyl anhymyg, rhyw rith dychymygol o Fessiah gwladol o ffurfiad dychymyg y genendl Iuddewig yn y byd eisoes mewn ystyr. Yr oeddynt wedi ei ffurfio trwy wyrdroi y proffwydoliaethau am y gwir Fessiah. A phe buasai yr Iesu yn cydffurfio a'r dychymyg hwnw, ni buasai un anhawsder iddo ddod yn mlaen gyda ei gydgenedl, nac un gwrthwynebiad oddiwrth y diafol ychwaith, oblegid buasai yn porthi balchder a nwydau dialgar y genedl o gael y Rhufeinwyr a phawb eraill o dan eu traed. Eithr ni buasai felly yn Waredwr pechaduriaid mwy nag Alexander Fawr, neu ryw fuddugoliaethwr gwaedlyd arall. A chan i'r Arglwydd Iesu wrthod syrthio i mewn i'w cynlluniau hwy, troisant yn ei erbyn, gan ei erlid a'i wrthod, ac yn y diwedd ei ladd. Y cyfeiliornad mawr hwn am natur teyrnas y Messiah a fu yn ddinystr i'r genedl Iuddewig.

## PENNOD VI.

*Y brofedigaeth yn yr anialwch, a dychweliad yr Iesu i lanau yr Iorddonen, lle y bedyddiai Ioan—Amcan anfoniad Ioan.*

Dywed y tri Efengylwr cyntaf i'r Iesu gael ei arwain gan yr Ysbryd i fyny i'r anialwch i'w demtio gan ddiafol. Yn llaw y diafol, meddai y gwr hwnw ei hun, yr oedd holl deyrnasoedd y ddaear. Efe oedd yn eu llywodraethu, a'i eiddo ef oeddynt. Angenrhaid, gan hyny, oedd i'r Gwaredwr roddi brwydr iddo wrth ddechreu ar ei waith o waredu pechaduriaid o'i afael, a hyny a wnaeth yn effeithiol yn yr anialwch. Canfyddir effeithiau y frwydr hono ar y diafol a'i angylion trwy yspaid gweinidogaeth gyhoeddus yr Iesu. Cyffroai y mân ddiafliaid oeddynt yn poeni dynion ar hyd y wlad, a diangent o'i ffordd pan y delai yn agos. Gwir ddarfod i'r gelyn ymhyfâu drachefn tua Gethsemane a Chalfaria, a chafodd y fath ysgytiad a dymchweliad y pryd hwnw nes ysigwyd ei ben fel na raid i'r Cristion gwanaf ei ofni mwy; dim ond pwyntio at y groes ac adgofio y gurfa a gafodd yno, efe a ffy yn y fan.

Bu yr Iesu yn ymprydio ar y mynydd anial am chwech wythnos, nos a dydd, heb brofi cymaint a thamaid o ymborth. Gwyddom i Moses ac Elias fod yn ymprydio am gynifer o ddyddiau, yn cael eu cynal yn wyrthiol gan Dduw; eithr mae'n amlwg nad yw yr elfen wyrthiol yn dod i mewn yn hanes y Gwaredwr yn y fan hon. Yn niwedd y dyddiau hyn daeth arno chwant bwyd, a phan oedd ei natur ddynol yn

wan a lluddedig, ymosododd y diafol arno gyda ei dair temtasiwn fawr y sonia Matthew, Marc, a Luc am danynt. Beth tybed a allai profiad yr Arglwydd Iesu fod ar ol byw cyhyd heb ymborth? Yr un yn gymwys a phe buasit tithau, ddarllenydd, mewn lle anial heb damaid na llymaid am ddeugain diwrnod. Yr oedd yn ddiau yn teimlo i'r byw gnofeydd poenus newyn. Dylem yn barhaus gadw yn ein cof ei fod ef yn ddyn fel ninau. Mae gradd mawr o anhawsder i wneyd hyn, a sefydlu y meddwl yn sicr fod yr Iesu yn meddu cyneddfau a theimladau naturiol cwbl fel ninau, ac yn agored i'r un profedigaethau, a'r rhai hyny mor wirioneddol a phe buasent yn cael eu cynyg i'n meddwl ni. Y mae mor agos atom yn yr ystyr hon fel y gall gydymdeimlo â ni. Ond pan yr oedd yn ngafael pangfeydd dyfnaf newyn, wele yr arch-gythraul oedd yn cynllwyn gerllaw, yn dyfod ato gan ddyweyd gydag ymddangosiad o dosturi a chydym-deimlad, "Os mab Duw wyt ti, arch i'r ceryg hyn fod yn fara." Yr oedd geiriau y Tad, pan ydoedd yr Iesu ar lan yr afon yn adleisio yn nghlustiau y diafol, a buasai yn dda ganddo allu credu nad oeddynt yn wirionedd; ac wele ef yn awr yn gwneyd ymdrech i gael gan yr Iesu ei hun ameu eu gwirionedd fel y gwnaethai âg Adda yn yr ardd. Gwyddai y diafol yn dda na bu dyn erioed yn y byd a chymaint o chwant tamaid o fara ag oedd ar yr Iesu y pryd hwnw, ac nid oedd dim yn edrych yn afresymol nac anghyfreithlon iddo arfer ei allu dwyfol i beri i delpyn o gareg droi yn damaid o fara. Buasai yn lleddfu ei boen, ac hef-yd yn profi gwirionedd tystiolaeth ei Dad am dano pan yn esgyn o ddyfroedd yr Iorddonen. Yr oedd y

brofedigaeth hon wedi ei blaenllymu i'r eithaf mewn ystyr naturiol, neu allanol. Gallesid meddwl fod son am fara yn cynyrfu y newyn i gnoi yn fwy annyoddefol; eithr yr oedd y brofedigaeth yn llymach fyth yr ochr arall, oblegid awgrymai y gelyn ei bod yn anmhriodol i Fab Duw, yr hwn a allai bob peth, ddyoddef pangfeydd newyn. Yr oedd yr awgrymiad yn ddaufiniog—cystal a dweyd os oedd yn gorfod goddef newyn, mai nid Mab Duw ydoedd; ac o'r ochr arall, os oedd yn Fab Duw ei bod yn ddyledswydd arno ddangos hyny; nad oedd yn debygol y buasai y Duw daionus yn ewyllysio gadael ei unig Fab am wythnosau fel hyny mewn lle anial, yn newynog ac yn ddrwg ei gyflwr, heb neb yn agos ato ond creaduriaid ysglyfaethus. Eithr er y cwbl, yr oll allai dynu oddiwrth yr Iesu ydoedd, "Ysgrifenwyd, Nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn, ond trwy bob gair a ddaw allan o enau Duw." Gall Duw â'i air creadigol gynal dyn lawer ffordd heblaw trwy fara. Nid aeth yr Iesu i ddadl â'r diafol yn nghylch ei fod yn Fab Duw, na pha fodd y dylasai ymddwyn yn y fath amgylchiad, dim ond dwyn i gof hanesyn a ysgrifenwyd yn llyfr Duw, fel yr oedd efe wedi cynal cenedl Israel am ddeugain mlynedd mewn lle o'r fath heb ddim bara. A gair y gwnaethai Duw hyny. Ymddibynai yntau ar y gair, neu yn hytrach ar yr hwn a lefarodd y gair, na byddai iddo ei anghofio mewn cyffelyb amgylchiad. Yr oedd ei lwybr fel Gwaredwr yn gorwedd trwy ganol anhawsderau a dyoddefiadau, ac ni fynai alw allan ei allu gwyrthiol i'w gysgodi yn yr anialwch, mwy nag yn Gethsemane ac ar Galfaria.

Wedi methu yn ei amcan, gwnaeth y diafol ail ym-

gais. Cymerodd ef i Jerusalem, y ddinas sanctaidd, fel y gelwir hi, ond yn mha ddull neu fodd y cymerodd ef sydd gwbl anhysbys. Gosododd ef yno ar binacl y deml. Yn y fan hon newidiodd y diafol bwynt ei ymosodiad yn hollol, a cheisiodd yru yr ymddiried a ddangosai ef yn ei Dad yn rhyfyg. I'r pwrpas hwn defnyddiodd ran o air Duw, "Os Mab Duw wyt ti, bwrw dy hun i lawr, canys ysgrifenwyd, y rhydd efe orchymyn i'w angylion am danat ti, rhag taro o honot un amser dy droed wrth gareg." Gallem dybied oddiwrth yr hanes fod yr ellyll yn ymddangos yn dyner a pharchus o'r Iesu, gan wneyd gwyneb defosiynol dros ben. Eithr yr oedd yn camddyfynu ac yn darnio yr Ysgrythyr, a hyny yn ddiau i geisio cyraedd ei amcan ei hun. Fel y sylwyd, amcan y fagl hon ydoedd cael yr Iesu i bwyso yn rhyfygus ar ragluniaeth Duw, ac yn arbenig i iselhau a darostwng ei allu gwyrthiol trwy ei ddefnyddio mewn uchelgais a gwag ogoniant. Onid oedd grisiau diogel i ddod i lawr o ben y pinacl yn gystal a myned i fyny? Nid annhebyg ychwaith fod y diafol yn dirgel obeithio, pe buasai yn cael gan yr Iesu roddi y naid fawr hon, y buasai yn tori ei wddf, ac yn darfod am dano byth. Rhyfedd fel yr oedd y diafol, er maint ei gyfrwysder a'i hir brofiad mewn twyllo dynion, yn camgymeryd yn y gwr yr oedd yn ymwneyd ag ef. "Na themtia yr Arglwydd dy Dduw" oedd yr oll a gafodd yn atebiad. Ni wnaeth Iesu un ymgais i wrthddadleu nad oedd yn dweyd y geiriau yn gywir, a'i fod yn gadael allan y rhan fwyaf hanfodol i'r pwrpas o honynt. Rhoddodd iddo, er hyny, ergyd effeithiol gan ei chyfeirio at yr arch-elyn ei hun yn y rhif unigol, a

rhoddodd amnaid eglur mai efe oedd yn cynhyrfu dynion i demtio yr Arglwydd eu Duw. Onid oes yn y geiriau awgrym oedd yn rhoddi ar ddeall i'r gelyn mai efe ei hun oedd yr Arglwydd ei Dduw? Ac onid oes yma wers werthfawr a phrydferth i ni, sef na ddylem daflu ein hunain yn rhyfygus i beryglon mewn hyder ffuantus y bydd i Dduw ein gwaredu o honynt. "Nid dros ben y clochdai a'r pinaclau," meddai duwinydd Cymreig, "mae ffordd fawr y brenin yn rhedeg byth." Mynai y diafol i'r Arglwydd Iesu esgeuluso ei neges fawr yn y byd, sef gwaredu pechaduriaid, trwy geisio denu ei sylw, a'i gael i gyflawni rhyw gampau er mwyn hynodrwydd, eithr ni fynai efe ddefnyddio ei allu at amcan mor isel.

Er fod y ddwy brofedigaeth gyntaf yn gwbl wahanol i'w gilydd, un i amheuaeth, a'r llall i ryfyg, yr oedd rhagymadrodd y ddwy yr un, sef "Os Mab Duw wyt ti," a hyny yn ddiau yn cyfeirio at eiriau y Tad ar ei fedydd. Amcanai y diafol hefyd gael allan pa faint o allu a rhagorfraint oedd yn gynwysedig yn y Fabolaeth. Yr oedd chwilfrydedd yn gystal a malais yn y ddwy ymdrech, a phe buasai yr Iesu yn ildio i un o'r ddwy, buasai bron yn sicr o gamddefnyddio y llall.

Wedi ei orchfygu fel hyn ddwywaith gan yr Iesu, wele Satan unwaith yn rhagor yn gwregysu ei hun a'i holl nerth am y drydedd afael ag ef. Cymerodd ef i fyny i fynydd uchel o'r neilldu, gan ddangos iddo holl deyrnasoedd y byd a'u gogoniant—Judea a'r holl fân deyrnasoedd o amgylch, lle yr oedd miloedd lawer o feibion Israel yn byw, yn hytrach na'r byd mawr, oblegid cawn y gair byd yn fynych yn cael ei gyfyngu i'r ystyr yma. Honai y diafol hawl i'r rhai hyn, a

hyny gyda llawer o wirionedd, oblegid yr oeddynt yn llygredig iawn, a chynygiai yn haelionus dros ben eu rhoddi ymaith i'r Iesu. Caniatâi Satan fod yr Iesu yn frenin, mai efe oedd y Messiah, ac fel y cyfryw wedi dyfod gyda'r amcan i gymeryd llywodraeth y wlad. Ond yr oedd yn dlawd, heb wyr nac arfau i gymeryd meddiant o honi, a'r cynygiad rhesymol oedd rhoddi meddiant didrafferth o honi ar unwaith, ac am ddim ond cydnabod mai efe fel tywysog y byd hwn oedd ei chyfiawn berchen, ac iddo ymddiried i'w anrhydedd ef yn hytrach nag i Dduw; ei gydnabod fel un oedd a hawl ac awdurdod i roddi y teyrnasoedd cyfoethog hyn i'w gyfaill, mewn gair, ei addoli. Erbyn hyn yr oedd y diafol wedi newid ei dôn, wedi taflu ymaith ei hug grefyddol, ac ymddygodd yr Iesu tuag ato fel y cyfryw. Yn y ddwy demtasiwn gyntaf, ceir fod yr ateb yn ol y carictor yr oedd y diafol yn ymddangos ynddo, ac fel un oedd yn ewyllysiwr da iddo, er y rhoddai yr un pryd awgrymiad digon eglur ei fod yn deall ei gynllwynion. Yn y drydedd demtasiwn cyfarfu yr Iesu honiadau uchel y diafol i awdurdod trwy ddangos iddo ei awdurdod ei hun. Ymaith, ymaith, o'm golwg Satan. Cynwysa y gair lwyth o ystyr. Arwydda y dirmyg mwyaf at gynygion yr un drwg i'w wneyd ef yn frenin, ac hefyd y casineb mwyaf at bob peth Satanaidd yn y byd, ac at y gobeithion a gofleidid gan y genedl at Fessiah gwladol.

Ymddengys fod gan Satan gynlluniau eang a mawreddog, y rhai a ddangosant alluoedd arswydlawn o gryfion. Gwyddai yn dda am addewid Duw i adfer pechaduriaid allan o'u trueni, ac fod yr addewidion hyn am waredigaeth i holl deuluoedd y ddaear, yn

ngofal ac yn nghadwraeth y genedl Iuddewig. Yr oedd ei feddwl eang, grymus, yn gallu eu cymeryd i mewn a'u hamgyffred, a deallai yn lled dda ganlyniadau y cyflawniad o honynt, y byddai trefn yn Iachawdwriaeth yn sicr o ddinystrio ei deyrnas ef a'i daflu o'i lywodraeth ar y ddaear. Gan hyny trwy yr oesoedd rhagflaenol i ymddangosiad y Messiah, dodai ei holl nerth a'i alluoedd ar waith i ddirdynu a rhoddi camolwg ar addewidion Duw am waredwr, trwy eu dangos fel addewidion gwladol a bydol ardderchog i genedl Israel yn unig. A phan ymddangosodd y Messiah yn y byd yn barod i ddechreu ar ei waith, ymosododd arno, er ceisio ei gael i gydymffurfio a'i gynlluniau mawrion ef ei hun, a gosod i fyny deyrnas ddaearol. Pe buasai ond yn llwyddo yn ei amcan i gael gan yr Iesu droi y gareg yn fara, gwneyd y llam fawr oddiar binacl y deml, a derbyn teyrnasoedd y byd o'i law ef, buasai y cwbl drosodd am iachawdwriaeth i ddyn. Os yw y syniad hwn yn gywir, yr oedd y temtiad yn yr anialwch yn fater pwysig iawn. Dyma y frwydr bwysicaf fu ar ein daear oddigerth yr un yn yr ardd ac ar y groes, pryd y trodd holl ddysgwyliadau a chynlluniau y diafol yn fethiant hollol.

Digon naturiol fyddai clywed y darllenydd yn gofyn a oedd yr Iesu yn esiampl i'w bobl, pan o dan y gwahanol demtasiynau yn yr anialwch, neu ynte a oedd yn debyg arno yma i'r hyn ydoedd arno yn yr ardd; mewn dyfroedd rhy ddyfnion i ni allu cadw ein golwg arno? Nis gallasai neb fyned trwy yr olaf, ond dyn a'r Duwdod ynddo yn trigo, eithr nid felly yn y diffaethwch, dybygem. Yr oedd yr ymosodiadau yno o'r un natur a'r rhai sydd wedi blino a maglu

plant dynion trwy yr oesoedd. Nid rhai newyddion oeddynt, ond bod iddynt ffurf newydd. Cwympodd y diafol filoedd drwyddynt; arfau ei filwriaeth er's miloedd o flynyddau oeddynt, ac oni buasai nad oedd i dywysog y byd hwn ddim yn yr Iesu yn ateb i'r profedigaethau oddi allan, buasai yntau yn bur debyg o gael ei drywanu a'r picellau tanllyd hyn. Y mae hynodrwydd gwerthfawr yn ngwaith yr Iesu yn defnyddio yr Ysgrythyrau i ateb y gelyn; buasai geiriau o'i eiddo ef ei hun yn ateb y dyben yn gystal a'r hen Ysgrythyrau a ddefnyddiwyd ganddo, eithr buasem ni yn colli esiampl werthfawr. Gallwn ni yn awr ddefnyddio yr un arf miniog, sef cleddyf yr Ysbryd, yr hwn yw gair Duw. Temtir pob dyn i wneyd ei fara yn esmwyth heb lafurio yn ddiwyd a gonest am dano. Yr Iesu yn unig a drodd draw y dwyll-ddadl, trwy ddangos fod pethau llawer mwy pwysig mewn cysylltiad a'r bywyd dynol, hyd yn nod na bara beunyddiol. Syrthiodd miloedd hefyd trwy ryfyg o dan y syniad nad ydynt ond actio ffydd, heb ystyried fod terfyn i ryddid dynol, ac nad oes ond llinell gul yn gwahanu ffydd oddiwrth ryfyg. Mynych y twyllir dynion i ymgyraedd am fawredd ac awdurdod, ac yn eu hawydd hudir hwy i blygu y glin i addoli y twyllwr.

Deuai y temtasiynau a'r Iesu i gydymdeimlad agos â dynoliaeth demtiedig yn ei gwahanol amgylchiadau, ac y mae atebion yr Iesu i'r temtiwr yn gymwys ryfeddol i bob Cristion eu defnyddio. Os felly, medd rhywun, ni ddyoddefodd yr Iesu yn yr anialwch ragor nag a ddyoddefir gan ddynion yn gyffredin. Eithr cofier fod y cwestiwn o ddyoddef i'w

raddio yn ol mawredd neu fychander y gwrthrych fyddo yn dyoddef. Mae y boneddwr dysgedig a lled-nais ei natur yn dyoddef mwy na'r diddysg dideimlad. Teimla y cadflaenor fwy oddiwrth golli y frwydr na'r milwr cyffredin. Po fwyaf o fywyd, mwyaf o ddyoddef. Nid yn unig yr oedd yr Iesu yn ddyn, ond Y dyn ydoedd ef, ac o herwydd mawredd ei ddynoliaeth, yr oedd yn dyoddef mwy nag a allasai dyn ddyoddef. Chwytha y dymestl mor ffyrnig ar y llyn bâs ag ar Fôr y Werydd, eithr cynyrfir yr olaf fil o weithiau yn fwy o herwydd ei faint a'i ddyfnder. Ni wrthwynebodd dyn erioed lywodraeth y diafol fel y darfu'r Iesu. Tuedda hyn oll at osod temtasiynau yr Iesu ar eu penau eu hunain megys; eto nid mor bell oddiwrthym fel nas gallwn dynu oddiwrthynt gynaliaeth ac addysg yn ein gwahanol brofedigaethau.

Dichon y gofynir eilwaith a oedd yr Arglwydd Iesu yn demtiadwy, a fuasai yn bosibl ei gael i lawr? Wrth edrych ar yr ochr ddynol i'w berson, barnwn ei fod felly, onide buasai yn greulon yn ei Dad oddef i'r fath demtasiynau poenus ymosod arno, oblegid ni buasai hanes ei demtasiynau o nemawr werth i ni. Eithr wrth edrych ar yr ochr ddwyfol i'w berson, yr oedd yn anfeidrol uwchlaw cael ei demtio gan ei greadur ei hun. O'r ochr ddynol, gellid meddwl ei fod yn agored i bob temtasiwn fel dyn arall. At y dyn, ac nid at y Duw yr anelai y temtiwr ei bicellau. Eithr gyda y sicrwydd mwyaf y dywedwn, o herwydd ei fod yn Dduw, yr oedd yn anmhosibl i'r Iesu syrthio. Ond fel dyn arall y mae efe i'w weled yn y brofedigaeth. Atebai fel dyn wedi darllen, ac yn hyddysg yn ngair Duw. Gallasai yr Emmanuel drafod yr ymosodydd

mewn llwybr arall. Gallasai adgofio iddo fel y bwriwyd ef a'i luoedd allan o'r nef; gallasai ei ddychrynu i ddystawrwydd bythol, trwy ollwng arno belydr o'i Dduwdod. Yr oedd agoriad porth uffern wrth ei wregys ar y pryd, a gallasai ei fwrw i'r lle anghysurus hwnw, a chloi ar ei ol, eithr nid oes dim o hyny yn cael ei ddangos. Arosai y temtiedig yn nghysgod y gair ysgrifenedig, a hyny sydd yn ei wneyd yn anwyl ac yn esiampl i'r Cristion gwan yn ei brofedigaethau.

Wedi i'r Arglwydd Iesu ddod trwy y profedigaethau hyn yn fuddugoliaethus, hysbysir ni fod angylion wedi dyfod i weini arno. Tybiai rhai mai dyfod ag ymborth iddo oedd eu neges; eithr gwell genym y syniad mai dod i'w gyfarch yn llon a siriol ar ei fuddugoliaeth yr oeddynt. Yr oedd cael gweled wynebau siriol rhai o'i hen weision ffyddlon, a chael ei gyfarch yn anwyl ganddynt, yn dueddol iawn i loni ei natur drwyddi. Yr oedd yr Iesu yn hoffi cwmni a chydymdeimlad, fel y cawn weled eto pan y daw i Gethsemane.

Tra yr oedd yr Arglwydd Iesu yn yr anialwch yn cael ei arwain ol a gwrthol gan y diafol, parhâi Ioan Fedyddiwr i gynhyrfu yr holl wlad â'i weinidogaeth danllyd, gan argyhoeddi yn llym y gwahanol raddau o ddynion heb dderbyn wyneb neb. Condemniai ragrith y Phariseaid, didduwiaeth y Saduceaid, trais y publican a'r milwr, yn nghyd ag anlladrwydd y brenin, yr hwn oedd wedi cymeryd gwraig ei frawd yn wraig iddo ei hun. Deuai y rhai hyn dan ei fflangell yn ddiarbed. Ond yr ydym yn methu peidio ameu bob amser pan yn darllen yr hanes, na ddarfu i Ioan, er ei holl onestrwydd a'i rinweddau anghyffredin, fyn-

ed yn mhellach na'i gomisiwn, ac iddo drwy hyny dynu dinystr ac angau anamserol arno ei hun. "Llef yn y diffaethwch," i dynu sylw y genedl at Fab Duw, yr hwn oedd i ymddangos yn eu mysg yn mhen ychydig wythnosau oedd efe. Ac wedi i'r Tad ddwyn tystiolaeth ei hunan i'w Fab, dyna genadwri Ioan wedi darfod. Gallasai, o ran dim a allwn ni weled, gymeryd ei le fel Zecharias, ei dad, yn nyddgylch Abia am dair blynedd a haner, ac yna droi yn Efengylydd, os buasai yn dewis.

Tua'r adeg y dychwelodd yr Iesu o'r anialwch at lanau yr Iorddonen, ac yr ymgymysgodd â'r torfeydd oedd yn amgylchynu Ioan, anfonodd penaethiaid yr Iuddewon, sef uchel lys y Sanhedrim, ag oedd a gofal achosion crefyddol y wlad arnynt, genadaeth at Ioan i ymholi am yr athrawiaeth oedd yn ddysgu i'r bobl, yn nghyd a'i hawl fel proffwyd. Ymddengys fod rhyw sî yn y wlad mai efe ydoedd y Messiah, ac ymddengys fod holiadau y genadaeth iddo yn cyfeirio y ffordd hono. Mae'n eglur nad oedd Ioan Fedyddiwr yn hoffi y Phariseaid yn ormodol, ac atebai y cwestiwn yn bur ddigwmpas, gan ofalu dweyd yn eglur mai nid efe oedd y Messiah. Beth ynte, ai Elias wyt?—meddylient hwy Elias y Thesbiad—a'i ateb ydoedd, Nage. Pe gofynasent ai efe oedd yr Elias y cyfeiriai Malachi ato, buasai ei atebiad yn ddiau yn wahanol. Gofynai y dynion drachefn, ai y Proffwyd wyt ti? gan gyfeirio, efallai, at yr hen draddodiad y byddai i Jeremiah gyfodi o'i fedd i adferu i'r deml lechau y cyfamod, ac allor yr arogldarth, y rhai, meddynt, a guddiwyd ganddo ef pan y dinystriwyd y deml gan Nebuchodonosor. Nage, eto oedd ei ateb i'r cenadon.

Eithr ni foddlonid hwy ag atebion nacaol i'w holiadau pwysig, a gofynent yn llym, "Pwy ynte wyt ti?" Yna etyb hwy mai efe oedd y "llef" a ddarluniwyd gan yr hen broffwyd. Yr oedd efe mor bell o fod y Messiah fel nad oedd yn deilwng i ddatod carai ei esgid—gorchwyl a gyflawnid gan y gwas gwaelaf yn y teulu. Tebygol fod yr Iesu yn y dorf pan oedd y gynadledd hon yn cael ei chario yn mlaen rhwng Ioan a chenadau y Sanhedrim. Daethai yno i'r dyben o gasglu dysgyblion o fysg y rhai oeddynt wedi eu dysgu gan Ioan o berthynas i'r Messiah, gan fod y rhai hyn yn fwy parod nag eraill i wneyd derbyniad o hono.

Dranoeth wedi hyn, pan gylchynid Ioan gan ei ganlynwyr, mae yr Iesu yn nesâu i'r lle, a noda Ioan ef allan iddynt yn eglur. Mae ei ymadrodd wrthynt yn dra hynod, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Tybia rhai, ac mae y dybiaeth yn bur naturiol, fod gyr o ddefaid ac wyn ar y pryd, o'r porfeydd tu hwnt i'r Iorddonen, yn croesi rhydoedd gerllaw yn yr afon, i fyned a hwy i Jerusalem at wasanaeth yr allor; ond beth bynag am hyny, yr oedd Ioan a'i lygad ar eiriau Esaiah am dano, "Fel oen yr arweiniwyd ef i'r lladdfa." Rhoddai hyn hefyd achlysur i Ioan wrthdystio yn erbyn y dyb gyfeiliornus am y Messiah, gan ei olygu fel un y buasai y llew yn arlun mwy cymwys o hono na'r oen. Diau mai dyna syniad y lluaws oedd yn ei wrando; ychydig a deimlent o'i angen fel oen yn aberth dros eu pechodau. Meddai y Bedyddiwr amgyffred lled glir am natur y gwaith yr oedd y Gwaredwr i'w gyflawni; canfyddai yn mhellach i drefn yr iachawdwriaeth nag y gwnai dysgyblion yr Iesu ar ol ei ganlyn dros dair

blynedd, nes y derbyniasant yr Ysbryd Glan ar ddydd y Pentecost. Bob tro y disgynai llygad Ioan ar yr Iesu, fel yr oedd yn rhodio yn mysg y dorf, cynyrfid ef trwyddo, a daliai i ddweyd wrth ei ganlynwyr mai efe oedd Oen Duw, fel o'r diwedd yr ymadawodd dau o'i ddysgyblion, trwy ei anogaeth ef yn ddiau, oddiwrtho, gan ddylyn yr Iesu.

Am swydd a lle Ioan Fedyddiwr, goddefer un gair yn mhellach. Yr oedd efe, dybygem, yn sefyll yn y canol rhwng y ddwy oruchwyliaeth. "Y gyfraith a'r proffwydi oedd hyd Ioan." Yn Ioan yr oeddynt yn darfod, trwy gyrhaeddyd eu nôd uchaf, eu hamcan gosodedig. Yr oedd Ioan yn fwy anrhydeddus na hwynt oll o herwydd ei agosrwydd at yr Emmanuel; yr oedd yn fwy na phroffwyd, oblegid proffwydwyd am dano ef gan yr hen broffwydi. Nid fel Esaias yn rhagweled ac yn rhagddywedyd am y Messiah yr oedd efe, eithr pwyntiai a'i fynegfys ato gan ddywedyd, "Wele Oen Duw." Yr oedd ef yn gyfaill i'r priodfab ei hunan, yn llawenychu yn ddirfawr wrth glywed a gwrando tôn ei leferydd. Rhyw led llaw oedd yr Elias cyntaf yn ei lanw o le, yn yr oruchwyliaeth faith; rhyw un ddolen fechan yn y gadwen hir ydoedd Esaia, Jeremias, a Daniel. Eithr am Ioan, gwr ar ei ben ei hun ydoedd; rhagflaenor y Duw-ddyn, ac megys yn oruchwyliaeth fer ar ei phen ei hun, nid i gysgodi na phroffwydo, ond i gyhoeddi fod y Gwaredwr yn y byd, unioni y ffordd o'i flaen, a pharotoi iddi bobl barod. Dyma amcan yr oruchwyliaeth fer a ddechreuodd ac a ddiweddodd yn ngweinidogaeth Ioan Fedyddiwr. Y mae maint y gwasanaeth a gyflawnwyd ganddo, yn nghyd a'r angenrheidrwydd am dano, yn anhawdd, i

raddau, efallai, i ni ei ddeall a'i brisio. Pa anfantais a fuasai i achos yr Iesu pe na buasai Ioan fel hyn yn gwregysu ei lwynau, ac yn rhedeg o'i flaen? Pa fodd y darfu iddo barotoi ffordd yr Arglwydd, fel ag i'w gwneyd yn wahanol i'r hyn a fuasai pe heb ei ymddangosiad? Mae yn eglur mai braich Ioan a darawodd yr ergyd gyntaf ar gamsyniad a rhagfarn y genedl yn nghylch mawredd tymorol y Messiah. Dichon nad oedd Ioan, mwy na'r apostolion cyn dydd y Pentecost, yn gwbl glir ei olygiadau am natur y deyrnas oedd ar gael ei gosod i fyny. Eithr yr oedd yn ddigon eglur iddo, a thraddodai hyny gydag awdurdod rhyfeddol, fod trais, twyll, hunan-gais, a rhith duwioldeb, yn gwbl anghydweddol ag ansawdd y deyrnas hono, ac mai y rhai parotaf i gyfaddef a gadael eu pechodau, gan ymddwyn yn gyfiawn tuag at ddynion, yn ostyngedig a didwyll tuag at Dduw, fyddai y deiliaid mwyaf cymwys iddi. Yr athrawiaeth fawr Gristionogol, megys yn yr hedyn, oedd gan y Bedyddiwr, ond a bregethwyd mewn eglurdeb gan yr Iesu ar y mynydd, ac wrth Nicodemus, penaeth yr Iuddewon.

## PENNOD VII.

*Yr Iesu yn galw ei ddysgyblion—Yn myned i Galilea —Y briodas yn Cana—Ei wyrth gyntaf—Sylwadau ar y gwyrthiau.*

Ein gorchwyl yn awr fydd ceisio dylyn yr Arglwydd Iesu. Ymddengys i ddau o ddysgyblion Ioan adael eu hathraw a myned ar ol yr Iesu, sef Andreas, brawd Simon Pedr, ac Ioan, mab Zebedeus, y dysgybl anwyl ar ol hyn. Wrth ei weled yn myned heibio, aethant ar ei ol, gan ofyn yn wylaidd, "Pa le yr wyt ti yn byw?" fel y gallent ar ol hyny gael gafael arno. Yna cymerodd yr Iesu hwy gydag ef. Pe cawsem ateb i'r gofyniad, mae'n debyg mai ty rhyw ewyllysiwr da, caredig, yn y gymydogaeth ydoedd. Ar garedigrwydd personol pobl letygar yr oedd yr Iesu yn byw gan mwyaf trwy ystod ei weinidogaeth gyhoeddus; ac mae genym ninau y fantais i wneyd hyny i'w gyfeillion eto. Gwyddai Andreas fod ei frawd Simon yn dysgwyl yn bryderus am ymddangosiad y Crist, ac wedi boddloni ei feddwl mai yr Iesu ydoedd, prysurodd i'w hysbysu, ac aeth y ddau frawd gyda'u gilydd at yr Iesu. Yr un diwrnod, dybygem, canfyddodd Phylip, a dywedodd wrtho, "Dylyn fi." Gyda brys aeth yntau ar ol ei gyfaill didwyll, Nathanael, gan ei hysbysu ei fod wedi cael y Messiah, Iesu o Nazareth, mab Joseph. Mae Nathanael, ar y cyntaf, yn symlrwydd ei galon yn ameu, ac yn gofyn, "A ddichon dim da ddyfod o Nazareth?" Yna daeth y ddau gyfaill gyda'u gilydd at yr Iesu; ac fel yr oeddynt yn agosâu, achubodd yr Arglwydd Iesu y blaen, megys, gan ddywedyd am

Nathanael, "Wele Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll," a dywedodd wrth y dyn, "cyn i Phylip dy alw di, pan oeddyt o dan y ffigysbren, y'th welais." Byddai yr Iuddewon crefyddol yn dra gwahanol i'r Phariseaid rhagrithiol a ewyllysient fyned dros eu gweddiau yn y lleoedd mwyaf cyhoeddus. Byddent hwy yn ymneillduo i'r gerddi o'r golwg i weddio. Pan y dywedodd yr Iesu iddo ei weled o dan y ffigysbren, yn gweddio yno, dybygid, tywynodd goleuni clir i feddwl syml, gonest, Nathanael, a dywedodd yn y fan, "Ti yw Mab Duw, ti yw Brenin Israel." Nid ydym yn cael yr enw Nathanael yn mysg enwau yr apostolion, eithr mae yn amlwg, feddyliem, mai efe ydyw Bartholomeus yr Efengylwyr eraill, yn myned o dan enw ei dad. Ystyr yr enw Bartholomeus ydyw Mab Tolmai, yr hyn sydd yn gadael lle i'w enw priodol ef ei hun, sef Nathanael. Gwelir fod Ioan yn cysylltu Phylip âg ef, a'r Efengylwyr eraill yn cysylltu Phylip a Bartholomeus. Amcan mawr y pedwar Efengylwr ydyw rhoddi hanes eu Meistr mawr, eu Hathraw anwyl; efe oedd yn llanw eu meddwl a'u calon, ond wrth wneyd hyn, yr oedd yn naturiol iddynt sou am lawer o bersonau eraill, yn wyr, gwragedd a phlant, fel y deuent i gydgyfarfyddiad ag ef y naill ddydd ar ol y llall. Yn ei oleuni ef fel yr haul mawr, y mae goleu tanbaid yn tywynu ar nodweddiad a dirgelion calon llawer un, fel y gallwn bron weled trwyddynt yn yr hanes sanctaidd ; a difyr iawn ydyw edrych ar ddychlamiadau calon dyn, yn neillduol pan y byddo o dan ddylanwad cariad. Cyfarfyddwn â llawer un fel hyn ar ein ffordd yn mlaen gyda hanes yr Arglwydd Iesu, a hyderwn y bydd o leiaf yn oddef-

ol i ni syllu arnynt a siarad am danynt. Gwr anwyl oedd y Nathanael, neu y Bartholomeus hwn. Gydag ychydig o help y dychymyg gallwn ei weled yn fyw o'n blaen yn yr hanes, yn ddyn syml gwledig gyda gwyneb meddylgar, gonest, a'i wedd yn dangos ei fod wedi ei lwyr foddloni o ran ei farn a'i galon, mai yr Iesu oedd y Crist.

Wedi tynu sylw a serch y pump gwyr hyn, sef Andreas, Ioan, Pedr, Phylip, a Nathanael, hysbysodd iddynt ei fwriad o fyned i fyny i Galilea, a chychwynasent oll gydag ef yn ddioed, a'r trydydd dydd, sef y trydydd ar ol galw Nathanael, yr oedd priodas yn Cana, Galilea, sef tref enedigol Nathanael. Yn ol y daearyddwyr a ddylynir genym, yr oedd Cana saith milldir i'r gogledd-ddwyrain o Nazareth, felly yr oedd o lan yr Iorddonen i Cana lawn haner can' milltir, yr hyn a gymerai iddynt ddau ddiwrnod i gerdded. Y dydd canlynol yr oedd y briodas. Yr oedd Mair, mam yr Iesu, yno eisoes gyda'r teulu, ac mae yn naturiol casglu oddiwrth yr hanes ei bod yn berthynas o ryw radd iddynt, oblegid ymddengys y gwyddai eu holl helynt teuluaidd yn dda, ac y cymerai ddyddordeb mawr yn eu hachos. Galwyd yr Iesu a'i ddysgyblion i'r wledd. A chyda hyfrydwch calon y cawn ar ddeall iddo dderbyn y gwahoddiad, a'i fod yn bresenol yn y briodas. Un o ddybenion mawr ei ddyfodiad i'r byd oedd rhoddi esiampl i ni yn mhob math o amgylchiadau, adegau o sirioldeb yn gystal a thristwch, oblegid mae yn llawer mwy peryglus i galon lygredig lithro mewn awr o lawenydd, nag mewn tymor o alar a phryder, a gwerthfawr i ni ydyw cael esiampl y gallwn yn ddiogel ei dylyn yn y cyfryw amgylchiadau, Nid oedd

Iesu Grist i ymneillduo o gymdeithas dynion, fel Ioan Fedyddiwr, eithr i rodio fel ninau trwy amgylchiadau cyffredin bywyd.

Yr ydym yn awr wedi cyraedd y cyfnod yn hanes bywyd cyhoeddus yr Arglwydd Iesu Grist, pan y cyflawnodd ei wyrth gyntaf; a gadawn yr hanes am ychydig i wneyd rhai sylwadau cyffredinol ar wyrthiau, ac yn benaf gwyrthiau yr Arglwydd Iesu, yn nghyd a'u lle priodol fel profion o wirionedd yr efengyl. Cawn fod yr awdwyr goreu, dynion gwir ddysgedig a chrefyddol, yn gwahaniaethu yn fawr yn eu golygiadau ar y gwyrthiau. Ymrestrant yn ddau ddosbarth. Dywed un ochr na chyflawnwyd gwir wyrth erioed ond gan y Duw Hollalluog ei hun yn uniongyrchol, nas gall neb llai na'r hwn a osododd, ac sydd yn parhau i roddi effeithiolrwydd yn neddfau natur, eu newid yn y radd leiaf nac atal eu gweithrediad. Nis gall ond yr hwn a greodd yr haul a'r lloer, ac a'u gosododd yn eu cylchoedd beri iddynt aros eiliad yn eu rhedfa. Rhaid cael hollalluawgrwydd at hyn, ac nis gall y creadur uwchaf ddal hollalluawgrwydd am foment. Pa bryd bynag y cyflawnir gwyrth, bys Duw sydd yn dyfod i'r golwg. Sefyll yn ymyl Duwdod yr oedd Moses, Joshua, a'r hen broffwydi, a'r Anfeidrol yn dwyn tystiolaeth i'r hyn yr oeddynt yn ei lefaru drosto trwy gyflawni y gwyrthiau. Pa bryd bynag, meddant, y byddo cenadwri yn cael ei dylyn gan wyrth, nid oes genym hawl i ameu na phetruso am ei dilysrwydd, dim ond edrych yn graff, a chwilio yn fanwl mai nid twyll a ffug ydyw. Yr oedd cyflawniad o wyrth gan broffwyd, yn brawf bob amser ei fod yn dal comisiwn oddiwrth Dduw i lefaru drosto, a

hyny pryd nad oedd pob gwirionedd a lefarai yn cael ei ddylyn gan wyrth. Fel hyny y golygai Nicodemus fod y gwyrthiau a gyflawnwyd gan yr Iesu yn brawf fod Duw gydag ef. A dywedai yr Iesu ei hun, "Oni buasai wneuthur o honof yn eu mysg weithredoedd na wnaeth neb arall, ni buasai arnynt bechod."

Dywed y blaid arall gyda llawn cymaint o hyder, fod yn eglur oddiwrth amryw ranau o'r Ysgrythyr, fod is-wyrthiau wedi cael eu cyflawni gan allu y tywyllwch; fod dewiniaid yr Aifft yn dal perthynas â gallu ysbrydol mor wirioneddol ag yr ydoedd Moses ac Aaron. Ymrysonfa ydoedd rhwng duwiau yr Aifft, neu yn hytrach rhwng y diafol fel tywysog teyrnas y tywyllwch, a'r gwir Dduw, fod yr Arglwydd Dduw yn goddef iddo wneuthur yr oll a allai, ond yn fuan mae yr oll a allai, er ei fod yn arswydlawn a dinystriol, yn cael ei wasgu a'i lethu gan fys Duw. Er nad allai y diafol trwy y dewiniaid gyflawni gwyrth yn ystyr uchaf y gair, eto nid castiau chwareuwyr oeddynt ychwaith; eithr yr oeddynt mewn rhan yn gyfranog o hanfodion gwyrth, yn gymaint a'u bod yn weithrediad gallu oedd yn cael ei oddef gan Dduw i weithredu ar ddirgelion natur, a hyny i'r dyben, yn y diwedd, o arddangos ei fawredd ei hun yn fwy amlwg trwy ddwyn y gweithredwyr eu hunain i warth a dirmyg. Felly, yn ol y golygiad hwn, nid ydyw gwyrth bob amser yn profi gwirionedd yr hyn a draddodir mewn cysylltiad â hi, ac a gefnogir ganddi, dim ond rhoddi hawl i'r genad i alw am wrandawiad, fod ganddo genadwri o fyd yr ysbrydoedd, o'r nefoedd, neu o uffern, a rhaid i'r gwrandawyr farnu oddiwrth natur y genadwri ei hun o ba le. Os na bydd ei thuedd i ogoneddu Duw,

a llesâu dyn, eglur yw mai o'r drwg y mae, ac felly yn rhybudd arswydlawn i gilio o'r ffordd a sefyll draw yn mhell. Ond os bydd y genadwri yn cymeradwyo ei hun i'r gydwybod ei bod oddiwrth Dduw y gwirionedd, dylid rhoddi y gwrandawiad mwyaf difrifol a pharod iddi.

Mae nodau ar wir wyrth bob amser ag sydd yn ei gwneyd yn hawdd ei hadnabod. Mae ei dyben daionus yn hawdd ei ganfod, oblegid nid gwneyd arddangosiad gwag o allu yn unig yw amcan gwir wyrth. Os awn i chwilio am sicrwydd gwirionedd yr hanes am y gwyrthiau, cawn eu bod yn gorphwys ar seiliau llawer mwy cedyrn na dim hanesion eraill sydd wedi disgyn i ni o'r cynoesoedd. Pe byddai i ni geisio eu gwadu, byddem yn y man yn nghanol mil mwy o anhawsderau nag wrth eu derbyn a'u credu yn ddilys. Gwnaeth yr hynod Colenso brawf ar hyn yn ddiweddar, a gwnaeth ei hun yn ddirmygus yn y man. Mae gan wyrthiau, yn arbenig gwyrthiau yr Arglwydd Iesu, le mawr fel profion o wirionedd a dwyfoldeb y grefydd Gristionogol. Eto, nid ar y gwyrthiau yn unig y gorphwys y prawf. Un o'r modrwyau mewn cadwen gref o brofion ydynt, ac maent hefyd yn arddangosiad clir o natur yr efengyl, fel y cawn sylwi yn mlaen. Argyhoeddir a llawn foddlonir y meddwl, nid gan y gwyrthiau yn unig, na chan yr athrawiaeth a draddodai yr Iesu, eithr yn hytrach fel y maent mewn cyddarawiad cyson a'u gilydd yn cyd-ddwyn tystiolaeth, ac yn cyfateb yn rhyfedd i'r angen dwfn a deimlwn yn ein natur, gan ganmol eu hunain i'n synwyr uchelaf fel gwirioneddau cedyrn.

Bu adeg ar yr eglwys pan yr ymddibynai ar hanes

y gwyrthiau am brawf o wirionedd a dwyfoldeb Cristionogaeth yn wyneb ymosodiadau ei gelynion. Gwahenid y gwyrthiau oddiwrth y gwirioneddau oeddynt yn naturiol yn gysylltiol â hwynt, ac oddiwrth berson yr Arglwydd Iesu, gan roddi holl faich y prawf ar y gwyrthiau eu hunain fel ffeithiau, fel os cyflawnwyd hwy gan yr Iesu, fod yn rhaid ei fod yn Fab Duw. Teflid yr ymresymiad bron i ffurf rhifyddiaeth a rhesymeg, fel y gallai pawb ei thrafod. Y mae gwaith Dr. Paley yn gwisgo y wedd hon, a Butler hefyd i raddau mawr. Maent yn werthfawr yn eu lle, a dylai pob darllenydd ieuanc sydd yn amcanu bod yn ddyn, fod yn gydnabyddus â hwynt fel mur allanol yr amddiffynfa, a gellir gwneyd defnydd da o honynt lawer pryd; eithr ffydd hanesyddol sydd yn ymddiried yn y rhai'n wedi y cyfan. Ac y mae cynyg profion o'r natur yma fel yr unig sail i bechadur am ei fywyd, yn ei adael yn anghysurus iawn o leiaf; ac ni byddai cynyg profion Dr. Paley i'r cyfryw yn debygol i ddyfod a thawelwch i feddwl trallodedig, a phryderus am iachawdwriaeth. Dechreua amheuon ac ofnau gyfodi, y gall fod man gwan o'r golwg yn y gadwen, rhyw un fodrwy yn eisiau mewn man arall hwyrach. Cyfodai cant o holiadau yn ei feddwl, megys, A ydyw gwyrth yn bosibl, a ellir ei phrofi, a oedd y tystion yn peidio cael eu twyllo gan arddangosiad? Arswydai ymddiried ei fywyd arnynt. Rhaid i enaid wedi ei ddeffro gael person byw yr Arglwydd Iesu i ymddiried ei fywyd iddo. Hoffa edrych arno ef yn anfeidrol fawredd ei nerth yn gwneuthur gweithredoedd nad allai neb arall, a'r rhai hyny yn weithredoedd o drugaredd a gras, gan ddangos y cydymdeimlad dyfnaf â

dynoliaeth yn ei thruenusrwydd. A phan gymellir yr Iesu hwn arno fel gwaredwr, mae yn ei gymeradwyo o ddyfnder ei enaid, gan ymddiried ei fywyd iddo; ac wedi cael ei hun yn y noddfa, mewn diogelwch, gall rodio o amgylch i edrych ar ei thyrau a'i rhagfuriau. Gwel yn y man fod athrawiaeth Paley a Butler yn wirioneddau cedyrn, a theimla yn falch o honynt, eithr o'r profion o waith yr Ysbryd Glan ar ei enaid ei hun y mae ei obaith a'i gysur yn tarddu. Camgymeriad mawr fyddai tybied fod y gwyrthiau a gyflawnwyd fel rhagbrofion gan Moses a'r proffwydi o dan yr Hen Destament, a chan Iesu Grist ei hun, o dan y Newydd, wedi eu bwriadu fel arddangosiad o allu Duw yn unig, ac felly yn brofion diymwad o ddwyfoldeb yr Ysgrythyrau. Maent yn brofion o allu, mae yn wir, nes peri i'r meddwl ofni a chrynu, eithr gwnant lawer yn ychwaneg. Dengys gwyrthiau yr Arglwydd Iesu, dosturi rhyfeddol tuag at drueiniaid, a chariad na welwyd ei gyffelyb yn ein byd ni o'r blaen.

Y mae gwyrthiau yr Arglwydd Iesu yn myned dan dri o enwau, sef nerthoedd, rhyfeddodau, ac arwyddion. Gelwir hwy yn nerthoedd, i ddangos y gallu anfeidrol oedd yn eu cyflawni; yn rhyfeddodau, o herwydd eu bod yn naturiol yn galw ar bawb i sefyll ac edrych, a rhoddi iddynt eu sylw mwyaf difrifol; ac yn arwyddion, er dangos fod rhywbeth tu hwnt iddynt, fod yr anfeidrol yn rhoddi ei sêl wrth yr hyn oll a wnelid ac a ddywedid gan ei Fab Iesu Grist. Yr oedd y nerthoedd, y rhyfeddodau, a'r arwyddion fel yr awgrymwyd yn arddangosiad o allu dwyfol, eithr yn llawn cymaint o arddangosiad o gariad a thrugaredd ddwyfol, a'i gydymdeimlad dwfn â dyn. Arddangos-

ent ei neges yn y byd. Teilynga sylw ac ystyriaeth fod y nifer fwyaf o'r gwyrthiau a gyflawnwyd gan yr Arglwydd Iesu, yn gynwysedig mewn gwella amrywiaeth mawr o glefydau ac afiechydon, er nad oedd yr oll felly. Tawelodd y gwyntoedd a'r môr â gair o'i enau. Llanwodd rwydau ei ddysgyblion â physgod yn wyrthiol ddwywaith, a galwodd o leiaf dri o bersonau yn ol o diriogaeth angau. Ond amcan y nifer luosocaf o lawer o'i wyrthiau oedd symud poenau ac anhwylderau corfforol. A phan y daeth dysgyblion Ioan ato i ofyn ai efe oedd y Messiah, cyfeiriai hwynt am brawf o'i Fessiaeth at y gweithredoedd hyn. Rhoddai brawf o'i dosturi a'i ras yn gymaint ag o'i allu. Ni fynai yr Iesu wneyd arddangosiad o'i allu trwy beri i'r afonydd redeg yn ol i'w ffynonell, neu trwy beri i'r mynyddoedd neidio fel hyrddod. Pe gwyrthiau o'r fath hyny fuasai gan y pedwar Efengylwr i roddi eu hanes, buasai gwirionedd Cristionogaeth yn bur amheus. Defnyddiai ef ei allu anfeidrol i leddfu y drwg oedd yn y byd, ac wrth wella cyrff dynion a bwrw allan gythreuliaid, gwnai lwybr i galonau dynion, gan enill eu hymddiried, fel yr oeddynt yn naturiol yn derbyn ei athrawiaeth, gan ymorphwys arno fel eu gwaredwr. Yr ydoedd atdyniad cryf yn ngwyrthiau yr Arglwydd Iesu. Er eu bod yn weithredoedd goruwch-naturiol, yr oedd iddynt wedd naturiol, fel nad oeddynt yn cyffroi nac yn brawychu neb. Cymeradwyent eu hunain a'u hawdwr i'r galon a'r gydwybod, a hyny nid yn gymaint o herwydd y gallu anfeidrol a ddangosid yn eu cyflawniad, ag o herwydd y cariad a'r daioni a ddangosid tuag at y trueniaid a wasgent ato am gymorth.

Dywed yr Apostol fod Crist wedi dyfod i ddatod gweithredoedd y diafol. Yr oedd y wlad yn llawn o'r rhai hyn, yn arwyddion arswydlawn o'i allu dinystriol ar y ddynoliaeth. Delid gweithredoedd y dinystrydd a gwyrthiau y Gwaredwr, y naill ar gyfer y llall, yn ngolwg pawb. Dygid y ddau weithredydd, megys wyneb yn wyneb â'u gilydd o flaen y byd, un yn dinystrio eneidiau a chyrff dynion, a'r llall yn eu meddyginiaethu a'u gwaredu. Dygai hyn y mater i amlygrwydd o flaen synwyrau naturiol dynion. Yr oedd y corfforol, a'r gweledig yn haws i'w brisio a'i ddeall gan y torfeydd oeddynt yn edrych ac yn gwrando na phe buasai yr Iesu ond yn unig yn dysgu y bobl am ffordd iachawdwriaeth, gan weinyddu maddeuant i'r edifeiriol. Ond pa le bynag, a chan bwy bynag y derbynid ei gymwynasau ef trwy ffydd, yr ydoedd maddeuant pechodau a'r bendithion ysbrydol cysylltiedig ag iachawdwriaeth yn dylyn bob amser. Yr oedd priodoliaethau anfeidrol y Duwdod o ddaioni a thrugaredd yn dysgleirio yn danbaid fel hyn yn ngwyneb Iesu Grist, ac yn profi ei fod yn Dduw yn gystal ag yn ddyn, oblegid ni allasai dyn ddal y fath bwys o fawredd. Diau hefyd fod y clefydau corfforol a wellheid gan yr Iesu yn ddarluniau eglur o'r anhwylderau oedd ar eneidiau dynion, oblegid y mae pechod i'r enaid yn debyg iawn i'r hyn ydyw afiechyd i'r corff. Afiechyd ydyw pechod sydd yn esgor ar yr ail farwolaeth. Mae pob dyn byw yn ei afael, ac felly eisiau meddyg o'r fath oedd ac ydyw Iesu Grist. Ac os oedd un dyn dall neu wahanglwyfus o fewn terfynau Israel ar ddiwedd adeg gweinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu, eu hanghrediniaeth hwy oedd yr

achos o hyny. Y mae lle i ofni fod llawer o'r fath, oblegid cawn ei hanes ef yn taro i mewn i gymydogaeth lle nad allai wneyd gwyrthiau o herwydd annghrediniaeth y trueiniaid oedd yn ddeillion ac yn gloffion ynddi. Yr oll a allai ef wneyd ydoedd rhoddi ei ddwylaw ar ychydig gleifion. Nid oedd yno un galon yn estyn allan ei theimlad a'i hochenaid ffyddiog am waredigaeth, ac nid allai yr Iesu da estyn un cymorth iddynt er fod ei galon yn llosgi o eisiau gwneyd hyny. Rhaid oedd iddo ef gael rhyw ychydig ffydd, pe na buasai yn fwy na gronyn o hâd mwstard, cyn y gallasai estyn iechyd corfforol nac ysbrydol i neb. Yr oedd hyn hefyd yn eithaf cyfiawn a theg, yn gwbl yn ei le ac yn hollol athronyddol, oblegid pe buasai yr Iesu yn gwastraffu ei wyrthiau ar y digred, y fath ydyw cyndynrwydd ac anniolchgarwch dynion fel y buasent yn ei gablu yn ei wyneb y mynyd nesaf. A buasai iechyd felly yn fwy o felldith nag o fendith i'r cyfryw, oblegid buasai yn caledu yn lle tyneru y galon.

Tybygem fod gwyrth gyntaf yr Arglwydd Iesu, sef troi y dwfr yn win, yn broffwydol neu yn ddarluniadol o'i holl waith yn y byd. Pa le bynag, a chan bwy bynag, y caffai ef dderbyniad, yr oedd yn gwella pawb a ddeuai i gyffyrddiad ag ef. Yr oedd ei wyrthiau yn brofion diymwad o'r athrawiaeth a draddodid yn ei bregethau a'i ymddyddanion. Yr oedd felly i'w wrandawyr y pryd hwnw, a bydd ei hanes yn ngeiriau byw y pedwar Efengylwr yr un modd i holl oesoedd dylynol y byd. Gwelir mawredd rhyfeddol, mawredd a geidw y nefoedd mewn syndod, yn yr ystori am yr Iesu a'i waith. Ynddo ef yr oedd holl deimladau a

phrydferthwch y natur ddynol ddibechod yn fil mwy llawn a dwys na chan Adda yn Eden, a holl briodoliaethau y Jehofa trugarog a graslawn yn dysgleirio trwyddo pan yn rhodio ein daear. Yr oedd yn serchog wrth bawb, yn cydymdeimlo â phawb, yn caru pawb, ac yn gwella pawb a ddelai ato; a'r hyn sydd yn coroni y cyfan i ni, canfyddir yr holl fawredd hwn mor eglur yn y pedair Efengyl ag ydoedd gynt pan oedd yn araf gerdded ar hyd llwybrau, heolydd, ac ystrydoedd gwlad Canaan.

Cydgordiai gwyrthiau yr Iesu yn rhyfedd â chân llu y nef uwchben maesydd Bethlehem ar y boreu y ganwyd ef. Hefyd gwelir fod cyd-darawiad hynod yn y gwahanol ddulliau y deuai y cloffion truain at yr Iesu am iechyd, a'r gwahanol ddulliau y mae pechaduriaid yn nesau ato fel eu gwaredwr, a hawdd synied fod y naill yn ddarlun o'r llall. Clywsai y gweiniaid a'r dolurus rywfodd am dano, ac am ei allu gwyrthiol, a than deimlad byw o eisiau meddyg a allai eu hiachau arweinid hwy i gredu y gallai yr Iesu wneyd hyny. Can belled a hyny, yr oeddynt oll yn gyffelyb, eithr mewn ystyron ereill yn dra annhebyg. Rhai pan glywent ei fod yn agoshau a dorent i'w gyfarfod gan osod eu hachos o'i flaen wrth iddo fyned heibio; cyrchai rhai ato o bellder mawr o ffordd, eraill oeddynt yn gwbl analluog a gludid ato gan eu caredigion. Llefai rhai â'u holl nerth dan deimlad arswydus o'u hangen, yn nghyd ag ofn colli yr adeg, fel y dall hwnw yn ymyl Jericho, tra yr oedd eraill heb fod ddim llai eu pryder na'u hymddiried ynddo, eto yn fwy ofnus. Credai y canwriad hwnw yn ddiffuant yn ngallu ac ewyllys yr Iesu i iachau ei was, eithr teimlai yn an-

nghymwys i'w dderbyn i'w dŷ. Ofnai y wraig a'r diferlif gwaed alw arno, ond cwbl gredai pe cawsai ond cyffwrdd ag ymyl ei wisg y iacheid hi yn y fan. Gwelid rhai o dan rym teimlad, yn methu dywedyd dim ond gwaeddi "Trugaredd." Yn bur debyg i hyn y mae pechaduriaid eto yn tynu at yr Iesu. Mae rhai wedi clywed am dano yn ngweinidogaeth yr efengyl, a than deimlad dwfn o angen; rhai o dan deimlad o ddrwg pechod yn gyffredinol; eraill a'u cydwybodau yn llosgi o herwydd rhyw bechodau neillduol, pryd y mae y lleill drachefn wedi brawychu, ac yn arswydo rhag ofn canlyniadau pechod yn y dyfodol. Ac arweinir yr oll gan yr Ysbryd Glan i gredu yn ngallu a pharodrwydd yr Iesu i'w gwaredu.

Yr oedd y gwahanol ddulliau a gymerai yr Iesu i iachau y cleifion hefyd yn arwyddocaol o'r wedd y mae yn achub pechaduriaid. Weithiau atebai y waedd ddolefus am gymorth yn y fan, gan ddweyd, "Mynaf, bydd lân;" bryd arall, oedai am dymor, fel yn achos y wraig o Ganaan, cyn dweyd y gair gwerthfawr, "Bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio." Weithiau caniatâi estyn cymorth heb i'r claf ymgymeryd â gwneuthur dim; tra y byddai raid i'r llall fyned i lyn Siloam ac ymolchi. Rhaid oedd i'r deg gwahanglwyfion gymeryd taith i Jerusalem, neu o leiaf gychwyn tuag yno. Weithiau defnyddiai foddion ei hunan; "clai a phoeryn," er na'd oedd rhin meddygol yn y clai na'r poeryn, ond defnyddid hwy ganddo i genedlu teimlad o ymddiried yn mynwes y dall truan fod rhywbeth ar gael ei wneyd tuag at iddo gael ei olwg, a chyn iddo gael amser i ymresymu, yr oedd y gwellhad wedi ei berffeithio. Diau fod yr un tebygolrwydd

ac amrywiaeth yn y dull y mae efe trwy ei Ysbryd yn gwaredu pechaduriaid oddiwrth eu pechodau. Weithiau gwrandawa waedd yr ymofynydd pryderus am iachawdwriaeth yn ddioed, brydiau eraill oeda wrando gweddi, nid am y mynai i'r gwan beidio galw, ond am y myn ei godi i fwy o daerineb. Bob amser y mae gwellhad ysbrydol yn cael ei ddylyn a bywyd a gweithgarwch. Pan ddywedai ef y gair, gwelai y dyn â'r llygad llwyd fel plwm mor glir ag y gwelodd llygad dyn erioed, a chlywai y glust fyddar y tic lleiaf o swn, dychwelai cnawd pwdr a drewedig y gwahanglwyfus mewn moment fel cnawd dyn bach, a gwelid y dyn oedd a'i groen a'i gnawd wedi ei rwygo a'i ddryllio o dan ddylanwad lleng o gythreuliaid wedi ei waredu o'u gafaelion a'i gwbl wella. Yn gyffelyb hefyd y mae yn argyhoeddi, yn achub, ac yn sancteiddio. Rhoddir bywyd newydd yn yr holl ddyn.

Pe gallem bresenoli o flaen meddwl y darllenydd un o'r golygfeydd a gymerai le bron bob dydd yn ystod gweinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu, pe gallem ddringo i ben sycamorwydden neu i ryw le cyfleus arall ar ymyl y ffordd, caem yr olygfa fwyaf cynhyrfiol a gogoneddus. O flaen yr Iesu gwelir y cloffion a'r gwywedigion, yr anafus, clwyfus, claf, yn gruddfan wrth y degau o dan bwys eu gofidiau. Ymdrecha y mudan truan yn mhob dull a modd wneyd ei eisiau mawr yn hysbys. Gwaedda y dall yn egniol am i ryw law gymwynasgar ei arwain at y meddyg. Trueni a phoen yn eu gwedd mwyaf hagr oedd o'i flaen; ond wedi iddo fyned heibio, gwelir y cloff yn llamu fel yr hydd, a thafod y mud wedi ei ollwng yn rhydd, yn canmol ei gymwynaswr yn hyawdl. Golygfeydd teb-

yg i hyn oeddynt i'w canfod bob dydd yn y manau yr ymwelai yr Arglwydd Iesu â hwy. Fel hyn gallwn weled fod gwyrthiau y Duw-ddyn yn cyd-dystiolaethu â'r athrawiaeth a draddodid ganddo. Yr oedd ei addfwynder a'i ostyngeiddrwydd pell uwchlaw dynol, yn fynych yn tanbeidio trwy ei ddynoliaeth, a'r oll yn cyd-daro a'u gilydd yn rhyfedd i wneyd un ymresymiad anatebadwy dros wirionedd y grefydd Gristionogol. Nid y naill heb y llall, nid y gwyrthiau heb yr athrawiaeth, na'r athrawiaeth heb y gwyrthiau, nac ychwaith y gwyrthiau a'r athrawiaeth heb gymeryd i mewn nodwedd bersonol yr Arglwydd Iesu Grist ei hun. Byddai ceisio eu gwahanu a gosod pob un i fyny ar ei ben ei hun fel profion, yn gwanhau y dystiolaeth yn ddiachos; ac heb enill dim trwy hyny. Mae yr oll yn un, yn canmol, ac yn cymeradwyo eu hunain i bob dyn sydd yn teimlo ei golledigaeth, ac y maent yn ateb yn gwbl i'w angen fel pechadur.

Y mae y cyfatebiad mor hynod rhwng yr athrawiaeth fawr am berson Crist, ei wyrthiau a'i ddyoddefiadau a sefyllfa dynoliaeth wedi cwympo, fel nad oes neb ond y sawl sydd yn llawn gelyniaeth ato yn eu gwadu na'u hameu. Trigai yn mhlith dynion, cyfranogai o'u llawenydd a'u gofidiau, a gallesid meddwl mai unig amcan ei fywyd oedd cyfranu dedwyddwch a bendithion o'i amgylch â llaw agored. Yr oedd ei glust yn barod yn wastad i wrando cri yr angenus, ac ni pharai y wedd hacraf ar drueni dyn iddo droi draw oddiwrtho. Meddai ei haelioni hefyd y fath rym fel y torai dros ben pob casineb ac erlid, ac y llifeiriai yn ffrydiau llydain tuag at ei elynion penaf. Haelioni a chariad ar ei ben ei hun ydyw yr eiddo ef; nis gall y deall ei am-

gyffred, eithr cydnebydd y galon ef. Cariad megys yn ymgynal, yn ymborthi ar esgeulusdra, gan ymgodi yn uwch, uwch yn ngwyneb pob dirmyg a deflid arno; po mwyaf a ddirmygid ac a erlidid arno, fflamiai yn uwch ac yn fwy angerddol. Anhawdd syllu ar y fath gariad heb deimlo fod mynwes Duw, lle y tarddodd, yn gariad pur.

Yr oedd tynerwch a diniweidrwydd y Duw-ddyn mor nodedig fel y daeth penaethiaid yr Iuddewon, fel y tybiwn, i gwbl gredu nas gallai gyflawni gwyrthiau ond o drugaredd, onide ni buasent yn anturio bod mor hyf ag i boeri yn ei wyneb, a thynu blew ei gernau. Rhyfedd na buasent yn meddwl y gallasai fod yn beryglus myned i'r fath eithafion gyda dyn oedd yn gallu codi y meirw, a gostegu ymchwydd y môr, a'i fod yn bosibl y gallasai arfer y gallu hwnw i ddinystrio yn gystal ag i achub. Da iddynt hwy, a da i bawb, yn wir, na ddaeth efe i'r byd i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw. Mae yn wir i ni gael rhyw amnaid unwaith neu ddwy o'r natur hono, sef yn achos y ffigysbren ddiffrwyth ar ael mynydd yr Olewydd, a chyda'r genfaint foch a lan Môr Tiberias. Eithr ni buasai iddo roddi allan ei allu dwyfol yn y wedd hon yn enill nac achub un pechadur. Er hyny, yr oedd i'r engreifftiau hyn eu hamcan grasol; yn y gyntaf, dangosodd ganlyniadau bywyd diffrwyth a diwaith, ac yr oedd yr ail yn arddangosiad arswydlawn i bawb pa mor annyoddefol ydyw bywyd yn uffern, hyd yn nod i gythraul.

# PENNOD VIII.

*Troi y dwfr yn win—Ei fynediad i Capernaum—Oddiyno i Jerusalem—Golwg ar y wlad—Y ffair yn y deml—Bwrw y prynwyr a'r gwerthwyr allan.*

Wedi bwrw bras-olwg ar wyrthiau yr Arglwydd Iesu a'u lle priodol fel profion o ddilysrwydd ein crefydd, awn yn mlaen gyda'r hanes, gan amcanu sylwi ar y gwyrthiau gwahanol fel y byddwn yn cyfarfod â hwy ar ein ffordd yn mlaen.

Yr oeddym wedi cyraedd at y wyrth gyntaf, sef troi y dwfr yn win, cyn troi o'n llwybr. Fel y sylwyd, yr oedd Mair, mam yr Iesu, gyda'r teulu cyn iddo ef a'i bum' dysgybl gyraedd yno. Diau ei bod hi wedi deall nad oedd gan y teulu ddigon o win i gynal y wledd yn anrhydeddus, a dywedai hyny gyda phryder wrtho ef. Beth a ddysgwyliai sydd anhysbys. Mae yn bosibl, ïe yn debygol, ei bod wedi clywed am yr amgylchiad hynod ar lan yr Iorddonen. Yr oedd pump o ddynion yn ei ganlyn fel ei ddysgyblion, ac yn talu y parch mwyaf iddo, ac oni allasai y rhai hyn fod wedi ei hysbysu beth oedd y Bedyddiwr wedi ei ddweyd am dano. Nis gallwn lai na synied fod cywreinrwydd mam ynddi i holi yn fanwl am ei mab, a'u bod hwythau yn ddigon parod i ddweyd iddi yr hyn oll oeddynt wedi ei glywed a'i weled. Diau hefyd fod cyfnewidiad mawr yn ei ddull er pan yr oedd wedi ei gadael hi ddau fis yn flaenorol. Gwyddai Mair hefyd yn ddigon da mai nid dyn cyffredin oedd ei mab; ei fod yn broffwyd; ïe, yn fwy na phroffwyd, ac ai nid oedd yn naturiol i'w meddwl redeg at yr ystên olew a

chelwrn blawd yr hen broffwyd gynt? Dichon mai syniad felly oedd yn ei chalon pan y dywedai yn dyner wrtho, "Nid oes ganddynt mo'r gwin."

Mae yn amlwg fod y gwin yn treulio, ond nid wedi darfod. Ond beth am ateb yr Iesu i'w fam, "O, wraig beth a wnelwyf â thi, ni ddaeth fy awr i eto?" Gwnawn a fynom â'r geiriau, maent yn rhy eglur i geisio gwadu nad oes ynddynt wrthyriad a gradd o gerydd. Digon tebyg fod yn Mair dipyn o falchder mam hoff am weled ei mab yn dangos ei fawredd i'r gwahoddedigion trwy ryw weithred hynod; a meddyliem mai ei brif amcan yntau yn y geiriau oedd rhoddi ar ddeall iddi fod pethau wedi newid rhyngddo a hi, ac nad ydoedd hi mwyach i ymwneyd a'i mab fel cynt, nac i ymyraeth mewn un modd â'i waith mawr. Yr oedd hyn yn iawn ac yn diriondeb ynddo i ddangos yn eglur ac ar unwaith nad oedd hi i'w gyfarwyddo er yn fab iddi, fel yr oedd yn Fab Duw ac Iachawdwr y byd; nid am ei fod yn ei charu yn llai na chynt, eithr am ei fod ef i ymddadrys o bob rhwymau daearol i wneuthur ewyllys ei Dad, yr hwn sydd yn y nefoedd. Rhyfedd na ddeallai y Pabyddion hyn. Yr oedd pob peth mor eglur i'w olygon pan y dywedai wrth ei fam, "Ni ddaeth fy awr i eto," a phan ar ol hyny y dywedai wrth ei Dad yn y nef, "Y Tad, daeth yr awr, gogonedda dy Fab." Nid gweithredu yn ol teimladau y foment yr oedd efe, ond yn ol y cynllun tragywyddol.

Wedi y cwbl, mae yn bosibl ei fod yn yr atebiad, neu yn y pwyslais ar y gair bychan "eto" yn rhoddi sail i ffydd Mair i ddysgwyl wrtho am gymorth, oblegid rhydd gyfarwyddiadau gyda siars fanwl i'r gwasan-

aethyddion ar iddynt wneyd "pa beth bynag a ddywedo efe" wrthynt. Diau mai nid boddio chwant y gwahoddedigion, eithr diogelu anrhydedd y teulu a'r pâr priodasol oedd gan yr Iesu mewn golwg wrth gyflawni y wyrth. Dengys ei gydymdeimlad yn y modd mwyaf llednais, nid yn unig âg angenrheidiau bywyd, ond hefyd â theimladau a phleserau y natur ddynol. Cawn ef ychydig ddyddiau cyn hyn yn gomedd iddo ei hun damaid o fara i dori ei newyn ar amnaid y diafol, eithr yn awr ar awgrymiad cariad yn helpu eraill â danteithion bywyd a gloew win puredig. Yr oedd yn y lle chwech o ddwfr-lestri meini (*stone ware*) wedi eu gosod yn ol defod puredigaeth yr Iuddewon. Un mawr am ddefnyddio dwfr oedd yr Iuddew. Addysgid ef o'i febyd i gadw ei berson a'i ddillad yn lân. Yr oedd elfen grefyddol hefyd yn rhedeg trwy hyn. Defnyddid cyflawnder o ddwfr o amgylch y tabernacl a'r deml er cyfeirio meddwl yr addolydd at y syniad o lendid a sancteiddrwydd ei Dduw. Trwy hyn yr adferid y syniad priodol am sancteiddrwydd oedd bron wedi ei golli o'r byd. Tybia rhai fod a fynai yr holl ddyfr-lestri mawrion hyn â phuredigaeth grefyddol, eithr nid ydym yn meddwl fod hyn yn amgen na pharotoi cyflawnder o ddwfr i'r cwmni i ymolchi, ac yr oedd angen am lawer o hono, am fod yn rhaid i bob person ymolchi bob tro cyn bwyta. Mae yr hanes sanctaidd, fel hyn, yn cau allan bob peth tebyg i gynllun rhagflaenorol i dwyllo gyda'r gwin. "Dwfr-lestri," ac nid llestri a arferid byth gyda gwin oeddynt; ac yn awr yn weigion, nid â rhyw waddod ynddynt i droi lliw a blas y dwfr. Credwn fod y ganmoliaeth a rydd y llywodraethwr i'r gwin, yn nghyd

a'r ffaith fod y dwfr-lestri yno yn ol hen arferiad, yn cau hyn allan yn gwbl. Yr oedd y swm o win hefyd yn fawr—chwech ugain o alwyni, meddir—fel nas gallesid ei ddwyn yno yn ddirgelaidd. Ni chyffyrddodd yr Iesu â chymaint a phen ei fys â'r llestri, â chario y dwfr, nac â'r llestri y cludid ef ynddynt. Gorchymyn i eraill wneyd y cwbl yr oedd efe. Mor glir y mae yr hanes syml; dim ond edrych, ac wele y dwfr yn gwrido ac yn troi yn win pur o'i flaen.

Dewisid llywodraethwr y wledd o blith y gwahoddedigion, a rhan o'i ddyledswydd oedd profi y llestriad gwin pan y dygid ef i mewn, ac yna ei ranu i'r gwahoddedigion. Gorchymynodd yr Iesu ddwyn peth o'r gwin hwn i'r llywodraethwr, yr hwn ni wyddai ddim o ba le yr ydoedd, ac wedi iddo ei brofi, galwodd y priodfab gan ddywedyd wrtho mewn dull a llais priodol i sirioldeb gwledd, "Pob un a esyd y gwin da yn gyntaf, ac wedi iddynt yfed yn dda, yna un a fo gwaeth; tithau a gedwaist y gwin da hyd yr awr hon." Y mae llawer o bryder a thrafferth wedi bod gyda'r geiriau, "yfed yn dda," fel pe byddent o angenrheidrwydd yn dangos fod cwmni y wledd yn Cana Galilea, yn yr hon yr oedd Iachawdwr y byd, wedi yfed ar y mwyaf, beth bynag, o win, ac iddo yntau arfer ei allu gwyrthiol i roddi mantais iddynt i gario eu cyfeddach lygredig yn mlaen. Nid yw yr ymadrodd yn cynwys y fath syniad, o herwydd nid oedd penaeth y wledd ond cyfeirio at arfer gyffredin yr oes hono, fel ein hoes a'n gwlad ninau, gan wneyd sylw megys wrth fyned heibio ar yr achos o hyny, sef fod archwaeth dynion yn pylu wrth ymyfed fel nad allant wahaniaethu rhwng y drwg a'r da, ac y gwnai gwin gwael y

tro bob yn dipyn, yr hyn ni wnaethai ar y dechreu. Nid oes yma un cyfeiriad at y gwahoddedigion oedd yn bresenol, ac yn clywed y cyfan o'r ymddyddan; nid un anfoesgar felly oedd y llywodraethwr, ac nid ydyw y fath ddrychfeddwl yn hanfodi ond yn nghalonau llygredig y sawl a fynant gymylu prydferthwch sancteiddrwydd. Cwbl mor ddistadl hefyd ydyw y murmur fod iddo greu cymaint o win yn gweinyddu i gario yn mlaen loddest oedd eisoes wedi dechreu, a'i fod yn rhoddi profedigaeth o flaen dynion, fel pe byddai dirgelwch cryfder sobrwydd a dirwest mewn prinder diodydd, ac nid mewn hunan-lywodraeth. Y mae dyn i gael ei brofi, nid yn gymaint wrth ei gadw rhag profedigaeth, ag wrth ei wneyd yn fuddugoliaethus yn ei chanol. Os oedd Mab Duw yn myned i gyflawni gwyrth, yr oedd i fod yn un eglur i bawb, ac os yn myned i gyflwyno rhodd i'r teulu, yr oedd i fod yn rhodd freninol, deilwng o hono ef ei hun. Dywedir i'w ddysgyblion gredu ynddo. Yr oeddynt yn credu ynddo o'r blaen, ond rhoddwyd grym newydd i'w ffydd. Nid oedd ond gwan eto, mae yn wir, eithr cryfhâi yn raddol fel y cynyddai eu hadnabyddiaeth o'u hathraw.

Mor naturiol y dengys y geiriau y gwahaniaeth sydd rhwng dull y byd yn rhoddi, a dull Duw o roddi. Rhydd y byd y pethau goreu yn mlaenaf—y gwin da yn gyntaf; ac wedi i'r dyn yfed yn dda, yna un a fo gwaeth. Wedi i bechod bylu yr archwaeth fel na wyr y truan ragor rhwng y da a'r drwg moesol, rhydd yn y cwpan yr hyn na buasai yn feiddio ei roddi ar y cyntaf. Mae y byd, i'r rhai sydd yn ei gofleidio yn awyddus, yn bur debyg i'r ddelw hono a welodd Dan-

iel, y pen o aur, yna sylweddau gwaelach, gwaelach, hyd y pridd yn y traed. Diau hefyd fod i'r wyrth gyntaf hon, fel yr awgrymwyd, ystyr broffwydol. Yr oedd yn rhagarweiniol i'r gwyrthiau eraill, a gellir dweyd mai troi y dwfr yn win mewn ystyr oedd ei holl weithredoedd nerthol ef.

Wedi aros rhyw ysbaid yn nghyfeillach siriol y wledd briodasol, ä yr Arglwydd Iesu gyda ei fam a'i frodyr i ddinas Capernaum, ar ei ffordd, dybygem, i wyl y Pasc, yn Jerusalem. Yr ydym wedi rhoddi amnaid mewn man arall mai perthynasau pellach na brodyr o'r un fam oedd y bechgyn hyn i'r Iesu, ond rhaid addef ar ol holl ymdrechion gwyr dysgedig, fod y mater yn aros yn ddigon tywyll. Maent, beth bynag, yn cael eu henwi yn wastad gyda eu chwiorydd a Mair yn gwneyd i fyny y teulu. Mae un peth yn ddigon eglur yn eu cylch, sef iddynt barhau heb gredu yn yr Iesu hyd yn agos i ddiwedd ei weinidogaeth gyhoeddus, a'u bod yn fwy o rwystr iddo nag o gymorth; eithr da genym feddwl eu bod wedi eu hachub ganddo yn y diwedd, oblegid cawn hwy gyda Mair a'i ddysgyblion yn yr oruwch-ystafell ar ol ei adgyfodiad o feirw.

Safai y ddinas hynod Capernaum yn agos i ben uchaf llyn Genesaret, ar yr ochr orllewinol iddo, ac ar y ffin rhwng Zabulon a Naphthali. Matth. 4: 13—16. Tref newydd, mewn cydmariaeth, ydoedd, oblegid nid oes son am dani yn yr Hen Destament, ond yr oedd yn lle pwysig ar yr adeg hon. Dylifai masnach y cymydogaethau cylchynol iddi gan ei gwneyd yn gyfoethog iawn. O ganlyniad, cyrchai lluoedd o bobl i mewn ac allan yn barhaus, a gwnelid hi yn lle manteisiol i'r

Arglwydd Iesu daflu halen ei athrawiaeth i lygad y ffynon, er iachau y ffrydiau llygredig hyn. Yr oedd yn fanteisiol iddo hefyd fel canolbwynt ei deithiau i ac o'r gwledydd cymydogaethol, a darfu iddo yn radd-ol ei dewis yn gartref, neu yn hytrach yn arosfa, canys nid oedd ganddo gartref. Ynddi y cyflawnodd luaws mawr o'i wyrthiau, ac y traddododd lawer iawn o'i addysgiadau anmhrisiadwy. Dyrchafwyd Capernaum trwy hyn hyd y nef mewn breintiau, eithr o herwydd ei hanghrediniaeth a'i chaledwch, dinystriwyd hi yn llwyr. Trodd bygythion yr Arglwydd yn ddedfryd ddialw yn ol arni, ac mae teithwyr diweddar yn methu cyraedd un sicrwydd am y llanerch y safai arno.

Nid oes genym hanes taith y teulu o Cana yn mhell-ach na Capernaum, ond mae yn amlwg nad arosasant yno yn hir, oblegid cawn yr Iesu ei hun yn Jerusalem erbyn bod yr wyl yn dechreu. Dichon iddynt gymer-yd y ffordd gyda glan y llyn, ac yna gyda glan yr Iorddonen i lawr hyd Jericho, ac yna croesi y wlad i Jerusalem ar hyd y ffordd anial y cyfeirir ati yn hanes y teithiwr a syrthiodd yn mysg lladron. Yr oedd llwybr arall gryn lawer yn nes trwy ganol Samaria, ond gan fod y Samariaid mor elyniaethus i'r Iuddew-on, ychydig deithwyr oedd yn hoffi myned trwy eu gwlad; gwell oedd ganddynt gymeryd cryn gwmpas na dyoddef dirmyg a gwawd y genedl fastarddaidd. Buasai yn dda genym allu helpu y darllenydd ieuanc i ffurfio drychfeddwl gweddol gywir o'r golygfeydd yr oedd yr Arglwydd Iesu yn teithio trwyddynt tra yn y byd yn gweithio allan ein iachawdwriaeth. Gan fod Canaan yn hen wlad gyfaneddol er's oesoedd, byddai yn ddigon naturiol i ni synied ei bod rywbeth yn deb-

yg i wlad ein genedigaeth. Mewn rhai pethau nid oedd yn annhebyg. Yr oedd fel Cymru yn llawn bryniau a mân ddyffrynoedd prydferth, eithr ni welid palasau boneddwyr, amaethdai, na chabanau llwydaidd y llafurwr yma a thraw yn britho wyneb y wlad. Nid oedd y tir ychwaith wedi ei gau i mewn yn fân gaeau a meusydd, a ffyrdd cauedig yn arwain o lan i lan, ac o dref i dref rhwng y tyddynod. Yn y wedd hon yr oedd yn fwy tebyg i lawer o Ffrainc a rhanau o'r Almaen, lle gwelir darnau mawrion o wlad yn fân dyddynod heb un gwrych na chlawdd rhyngddynt. Yr oedd yn llawn o drigolion, a'r tir oll bron o dan y driniaeth oreu, hyd yn nod y bryniau serthaf; ac mewn manau rhy lethrog i'w trin un ffordd arall, codid muriau ceryg i gynal y pridd, gan wneyd y fron yn fath o feinciau, y naill uwchlaw y llall, hyd grib uchaf y bryn, a'r rhai hyn yn llawn gwinwydd a choed ffrwythau eraill. Ond yr oedd yr aneddau, yn lle bod yn wasgaredig ar hyd y tyddynod, yn bentrefi mawrion gyda'u gilydd, y rhai a alwent hwy yn ddinasoedd, ac yn y boreu gwelid y trigolion wrth yr ugeiniau yn myned allan i'w gwaith yn y meusydd, ac yn dychwelyd adref yn yr hwyr. Cedwid mewn rhai cymydogaethau ddeadelloedd o ddefaid a geifr, a gyroedd o wartheg, y rhai a fugeilid ar hyd y dydd, ac a gauid mewn corlanau y nos. Nid ydoedd na throl, pedrolfen, na cherbyd, bron byth i'w gweled yn teithio trwy y wlad—y teithwyr bron oll ar eu traed. Yr oedd cysuron y teithwyr hefyd, fel y soniwyd, yn ymddibynu i raddau mawr ar letygarwch y trigolion. Pan ddelai teithiwr i dy i letya dros nos, diosgid ei sandalau a golchid ei draed, ac os byddai y teulu yn lletygar

a charedig, eneinid y traed ag ychydig olew, yna dodid o flaen y teithydd yd wedi ei grasu, ffigys, *raisins*, mêl, a llaeth, ac yn gyffredin dwfr i'w yfed, gydag ychydig win, yn ol gallu y teulu. Ac i orphwys y nos gorweddent nid ar welyau uchel fel yr eiddom ni, ond ar *fat* ar lawr yr ystafell, a'u gwisgoedd yn orchudd drostynt. Llawer gwaith y gwelwyd yr Arglwydd Iesu yn gorwedd ac yn cysgu yn drwm a thawel ar lawr caled yr ystafell, a'i wisg ei hun yn orchudd drosto, ac yn fynych heb gymaint o groesaw a meddwl o hono ag i roddi iddo ychydig ddwfr i olchi ei draed ar ol blin a chaled waith a thaith y dydd.

Son yr oeddym, cyn rhoddi cam o'r neilldu i edrych ar y wlad, am fynediad yr Iesu i Jerusalem i gadw gwyl y pasc, sef y pasc cyntaf wedi dechreuad ei weinidogaeth gyhoeddus. Yr oedd golygfa hynod yn y ddinas fawr bob amser ar y gwyliau arbenig, yn enwedig ar wyl y pasc. Yr oedd nifer yr eneidiau a gyrchent iddi bron fel tywod y môr o ran amldra, a thystia haneswyr fod nifer yr wyn a leddid ynddi ar yr wyl hon dros ddau can' mil, heblaw yr ebyrth eraill yn fychod, hyrddod, bustych, bron yn ddirif. Gan fod miloedd o'r genedl yn dyfod i'r wyl o bellder ffordd, nid allent ddod ag wyn at gynal y pasc ac ebyrth at yr allor gyda hwy, eithr gofalai pobl y wlad o amgylch, er eu helw eu hunain, ddod a digon i'r ddinas i'w gwerthu, ac oblegid mai y deml oedd y canolbwynt mawr y tynai pawb ato, deuid â'r anifeiliaid hyn i'w chynteddau eang i'w dangos ar werth. Safai holl gynteddau y deml ar o leiaf ddeg erw o dir, ac nid oedd yr adail ei hun ond bychan mewn cydmariaeth.

Pan ddaeth yr Arglwydd Iesu i'r ddinas, ac i fyny i'r deml, "ty ei Dad," cedwid yn ei chyntedd ffair fawr, a llenwid y lle gan swn y prynwyr a'r gwerthwyr yn marchnata; yn canmol ac yn rhedeg i lawr. Drud, drud, meddai y prynwr; rhad iawn, meddai y gwerthwr; pob un yn gwneyd y fargen oreu a allai. Hefyd ni dderbynid yn nhrysorfa y deml ond arian Iuddewig; felly rhaid oedd i'r dyeithriaid pellenig newid eu harian cyn y gallent dalu eu teyrnged na chyflwyno eu rhoddion yn y drysorfa. I gyfarfod angen y rhai hyn eto, yr oedd yno ddynion wedi gosod byrddau a digon o arian Iuddewig arnynt yn barod i gyfnewid â hwynt, a gwneyd ceiniog gryno iddynt eu hunain trwy y drafodaeth. Nid anghofid y tlawd chwaith nad allai gyraedd ond y durtur neu y golomen, i'w cyflwyno yn aberth. Yr oedd yno farchnatwyr ar raddfa is, yn barod i wasanaethu y rhai hyn, a phob un am ei elw ei hun. Llanwai yr olygfa hon ar deml Dduw, ty ei Dad, fynwes yr Arglwydd Iesu â sel sanctaidd dros ei gysegredd, a gwnaeth iddo ei hun fflangell o fân reffynau, offeryn digon diberygl feddyliem i wneyd niwed i neb, a chyda hon yn ei law, gorchymynodd hwy oll allan, gan ddywedyd, "Dygwch y rhai hyn oddiyma, ac na wnewch dŷ fy Nhad i yn dŷ marchnad."

Tarawyd y giwaid ariangar â dychryn ac euogrwydd cydwybod fel nad allent edrych yn ei wyneb. Hawdd genym synied fod rhyw belydr o'i ddwyfoldeb i'w ganfod yn ei wedd, yn gyffelyb i'r tro hwnw ar ol hyn yn ngardd Gethsemane pan syrthiodd y dynion celyd a ddaethai i'w ddal yn wysg eu cefnau ar y ddaear. Eglur yw fod yma rywbeth mwy na dynol,

cyn y buasai nifer mawr o farchnatwyr anifeiliaid a newidwyr arian, y rhai yn gyffredin ydynt ddynion celyd a dibris, yn ufuddhau mor wasaidd a dystaw, heb yngan cymaint a gair yn ei erbyn. Yr oeddynt oll efallai wedi clywed son am enw yr Iesu, ond ychydig nifer, mewn cydmariaeth, o'r lluaws a adwaenent ei wyneb. Colled ddirfawr i benaethiaid ariangar y deml oedd hyn, oblegid yr oedd rhan y llew o'r elw a wesgid o'r bobl yn gwneyd ei ffordd yn y diwedd i'w dwylaw hwy. Ystyrid y weithred feistrolaidd hon o eiddo yr Arglwydd Iesu, gan y blaenoriaid, yn honiad mai efe oedd y Messiah, oblegid gofynasant yn y man iddo am arwydd o'r nef i brofi ei gomisiwn, fel y gwnai y proffwydi gynt. Ond i ddynion hyfion, celyd fel hyn, nid oedd ganddo ef arwydd i roddi iddynt a fuasai yn eu dwyn i gredu, a dywedai y geiriau hynod wrthynt "Dinystriwch y deml hon, ac mewn tridiau y cyfodaf hi." Geiriau tywyll, mae yn wir, iddynt hwy, a cham-ddeallwyd hwy yn gwbl ganddynt, ac ni roddodd yntau un eglurhad iddynt, oblegid ni allasai wneyd hyny heb ddatguddio iddynt am ei farwolaeth, ac nid oedd yr amser i hyny wedi dyfod eto. Eithr mae yn eglur i'r geiriau suddo yn ddwfn, a glynu yn eu calonau. Adgofiwyd hwy ar ei brawf yn mhen tair blynedd ar ol hyn, a thrachefn edliwiwyd hwy iddo pan yn hoeliedig wrth y groes. Mae y geiriau hyn yn gofgolofn fythol mai peth arswydlawn ydyw gwneyd elw o dduwioldeb. Tâl i ni eu dal mewn cof yn wastadol, a gwylio arnom ein hunain, oblegid y mae miloedd yn ngwlad efengyl yn ddyfnach yn y camwedd hwn na'r dynion celyd yma. Diau i'r marchnatwyr ddychwelyd yn fuan i'r deml gyda

eu marsiandiaeth, felly nid allai fod yr Iesu yn dysgwyl rhoddi terfyn bythol ar y ffair hon yn nhy ei Dad; ac am na fynent ddiwygio, gadawyd iddynt ddylyn eu ffordd er eu dinystr hwy a'u teml.

Ymddengys mai amcan mawr yr Iesu yn y tro ydoedd, rhoddi arddangosiad cyhoeddus o'i Fabolaeth, o'i berthynas â'i Dad yn y nef, a gwrthdystio yn enw ei Dad yn erbyn yr offeiriadaeth, am adael i dy Dduw gael ei halogi. Yn erbyn y penaethiaid, ac nid yn erbyn y porthmyn a'r marchnatwyr arian y bwriadai efe y cerydd llym hwn. Nid oedd ond amser byr er pan anfonasai y dynion hyn genadon at Ioan Fedyddiwr i ofyn a'i efe oedd y Messiah. Gwyddom beth oedd atebiad Ioan iddynt; ddarfod iddo eu cyfeirio yn eglur iawn at un mwy ag oedd yn dyfod ar ei ol ef, ac fod hwnw yn eu mysg, ac mai Oen Duw ydoedd, a'i fod ar y pryd o'u blaen, yn gorchymyn am iddynt lanhau ty ei Dad. Beth arall a allasid ddysgwyl i'r offeiriaid hyn ddeall ond fod yr Iesu yn honi awdurdod uwch na hwy dros y lle cysegredig? Honai yn eu gwydd hwynt oll hawl i'r deml fel ty ei Dad. Ni wnaethant hwythau mewn un modd gyfiawnhau y gwaith o halogi y deml, na rhoddi dim yn ei erbyn yntau am glirio y lle, os oedd yn broffwyd, fel yr honai ei fod; eithr syrthiasant i gyndyn ddadleu am arwydd o'r nef. Dywedir y gellir ddarllen y geiriau sydd yn y modd gorchymynol, am y dyfodol, fel pe dywedasai yr Iesu, "Chwi a ddinystriwch y deml hon;" yr ydych yn difwyno teml Dduw, yn halogi ei gysegr, chwi a gynyddwch i fwy o annuwioldeb eto, nes dinystrio fy nghorff hwn. Yr oedd y geiriau felly yn broffwydol am ei angau. Cawn un ysgrifenydd call yn dal yn

dýn mai dewis neu fynu ei gam-ddeall yr oeddynt. Yr oedd cwmwl tywyll, du, yn ymgasglu yn yr entrych uwchben y dynion hyny, fel "yn gweled y gwelent ond ni chanfyddent, ac yn clywed y clywent, ond ni ddeallent."

Eithr er y dirmyg a'r atgasrwydd hwn a ddangosid gan yr Iuddewon tuag at yr Iesu, äi efe yn mlaen yn dawel gyda ei waith, gan gyflawni gweithredoedd o drugaredd a thosturi ar y trueiniaid oeddynt mewn poenau o dan bwys clefydau ac afiechyd. Pe buasai ond dyn yn unig, a'i gariad ond o'r un lled, dyfnder ac uchder a chariad dynol, buasai ar unwaith yn taflu ei swydd i fyny, ac yn gadael ei gydgenedl, ar ol derbyn y fath wrthyriad oddiar law ei phenaethiaid. Dywedir fod llawer yn credu ynddo; yn credu ynddo fel gwneuthurwr gwyrthiau, a dim pellach, mae'n bur debyg. Gwelai efe trwyddynt hwy a'u crediniaeth, ac ni ymddiriedai iddynt.

## PENNOD IX.

*Nicodemus—Yr Iesu yn pregethu yn Judea—Yn mynyned trwy Samaria i Galilea—Y wraig o Samaria—Iachau mab y pendefig.*

Un noson daeth Nicodemus, gwr mawr yn mysg y genedl, ac aelod o'r Sanhedrim, yr hyn a'i gwnai yn ddyn o ymddiried pwysig yn y byd crefyddol Iuddewig, at yr Iesu i gael ymddyddan ag ef. Tebygol ydyw iddo fod yn gwrando geiriau yr Iesu, ac efallai yn llygad-dyst o rai o'i wyrthiau. Gwr gonest, a dyben cywir ganddo oedd hwn, a bu yr ymddyddan rhyngddo a'r Arglwydd Iesu yn foddion iachawdwriaeth iddo. Y syniad cyffredin ydyw, iddo ddyfod o dan gysgod tywyllwch fel na byddai i neb ei weled; fod arno ofn am ei enw yn mysg ei gyd-seneddwyr i ddyfod ato liw dydd. Ymddengys i ni y gellir gwneyd cam a choffadwriaeth y gwr rhagorol hwn trwy farnu yn rhy gul am dano. Cawn amnaid yn Ioan 2: 24, 25, fod yr Iesu yn cadw draw i raddau yr adeg hon oddiwrth y lluaws, llawer o'r rhai oeddynt wedi eu cynyrfu yn ddirfawr gan ymadroddion byw a gweithredoedd nerthol y Duw-ddyn. Gwyddai ef yn dda nad ydoedd ond cynwrf teimladau yn benaf, ac y byddai drosodd yn fuan. Eithr yr oedd y cynwrf yn ei gwneyd yn anhawdd i gael hamdden dawel i ymddyddan ag ef yn bersonol, ond trwy ddyfod ato ar ol gwaith y dydd. Ac os oedd yr ymweliad hwn o eiddo Nicodemus, y nos ddylynol i'r dydd y cyflawnodd y gwyrthiau, yr ydoedd y cyfle cyntaf a allasai gael i siarad ag ef. Os felly, yn hytrach na dangos ei ofal

am ei barch a'i enw da, yr oedd ei waith yn dyfod liw nos yn dangos ei awydd mawr yn defnyddio y fantais gyntaf a allai gael i ddyfod ato. Gellid sylwi hefyd ei bod yn arferiad yn mysg y genedl i gyfarfod a'u gilydd i rydd-ymddyddan am bethau crefyddol ar ol i drafferthion y dydd fyned heibio; fel nad oedd dyfodiad Nicodemus liw nos yn beth anghyffredin.

Yn ol hyn rhaid mai dyben Ioan yn son am y nos oedd canmol y gwr mawr yn hytrach na'i feio. Ond os yw yr esboniad hwn yn rhy ffafriol i Nicodemus, byddwn yn dyner wrtho, er hyny, gan gofio yr oes a'r amgylchiadau yr oedd ynddynt, oblegid bu y gwr cyfoethog, enwog, anwyl hwn, yn foddion i dynu o enau yr Iesu y rhan gyntaf o'r drydedd benod o Ioan, ymadroddion ydynt wedi peri i filoedd o rai gweiniaid deimlo yn dda, a byddant yn teimlo yn gysurus yn ngafael eu cynwysiad byth. Nid ymddengys fod Nicodemus yn meddwl ar y pryd mai yr Iesu oedd y Messiah dysgwyliedig, eithr edrychai arno fel dysgawdwr cywir, ac efallai can uched a gwir broffwyd i'r Arglwydd. Ei amcan oedd cael rhagor o hysbysrwydd yn nghylch y deyrnas oedd ar gael ei gosod i fyny. Gwyddai ef yr oll am Ioan Fedyddiwr a'i dystiolaeth wrth genadaeth y Sanhedrim, am yr hwn oedd i ddyfod ar ei ol ef, ac mae yn bosibl y gallai fod ganddo ryw syniad diffurf y gallai mai yr Iesu oedd hwnw. Fel Iuddew defosiynol, a Pharisead manwl nid oedd yn ameu nac yn ofni am ei ran yn y deyrnas ddysgwyliedig, ond yr oedd yn llawn awydd am wybod rhagor am dani, a mawr oedd ei syndod glywed gan yr Iesu fod rhywbeth mawr yn eisiau arno ef oedd yn Iuddew crefyddol, cyn y byddai yn ddeiliad cymwys

yn nheyrnas y Messiah, nac yn gyfranog o'i bendithion. Yr oedd dyrchafiad y Messiah i fod yn dra gwahanol i'r hyn yr oedd efe wedi arfer meddwl y byddai. Dyrchafiad ar y groes, i ddiweddu mewn marwolaeth boenus, oedd dyrchafiad cyntaf y Messiah i fod, ac nid dyrchafiad i orsedd ddaearol.

Trodd ymddyddan yr Iesu a'r dyn hwn allan yn bur wahanol i'w addysgiadau i'r bobl gyffredin. Wrth gyfarch gwr o ddysgeidiaeth Nicodemus, arferai ymadroddion cydweddol, neu o leiaf a allesid ddysgwyl fuasai gydweddol ag ansawdd meddwl ei ddysgybl newydd; ond anhawdd canfod ystyr yr ymadrodd yn glir, heb ryw radd o wybodaeth am egwyddorion y dduwinyddiaeth draddodiadol oedd yn mysg yr Iuddewon yn yr amser hwnw. Tybient fod y proselytiaid oddiwrth Baganiaeth at y grefydd Iuddewig yn myned trwy enedigaeth newydd, a bod yr enedigaeth hono mor wirioneddol fel yr oeddynt yn gadael ar ol bob hen berthynas, a hen gysylltiadau mor llwyr, fel y gallasai proselyt wedi ei ail-eni briodi ei ferch, neu ei chwaer ei hun. Felly yr oedd y syniad o ail-eni yn ddigon hysbys i Iuddew. Yr achos o syndod Nicodemus oedd, paham yr ydoedd angen arno ef, ac yntau yn Iuddew, yn hâd Abraham, yn Hebrewr o'r Hebreaid, am ail-enedigaeth, cyn y gallai fyned i mewn i deyrnas Dduw. Yr oedd hyn mor anhygoel ganddo, fel y tybiai yn bosibl ei fod wedi camddeall yr Athraw, a chiliai yn ol ar yr hen ddrychfeddwl cnawdol o baganiaeth a haner Iuddewiaeth, o fyned i groth ei fam eilwaith a'i eni. Dengys hyn, mae yn wir, rywbeth pur debyg i gyndyn ddadleu ynddo; eithr ni wnaeth yr Athraw tyner un sylw o hyn er anfantais

i'w ddysgybl, ond safodd at y gwirionedd pwysig, fod yr enedigaeth newydd oddi uchod yn ffaith angenrheidiol, er nad ellid ei gweled, mwy nag y gellid canfod yr awel oedd yn chwythu heibio. Yn ei effeithiau yn unig y canfyddir y gwynt, ac felly hefyd yr enedigaeth oddi uchod o ddwfr ac o'r Ysbryd. Rhoddodd yr Arglwydd Iesu derfyn ar yr ymddyddan dyddorol hwn â Nicodemus trwy ddangos dyben ei ddyfodiad i'r byd, yn nghyd a'r farwolaeth boenus y byddai raid iddo ei gwynebu er achub byd colledig. Yr oedd llawer yn hyn nas gallai y seneddwr dysgedig ei ddeall ar y pryd, am ei fod yn dal cysylltiad â bywyd yn fwy nag athrawiaeth. Ond daeth yn raddol i ganfod y cyfan yn eglur. Yn mhen tair blynedd ar ol hyn, cawn ef a'i gyfaill Joseph, o Arimathea, yn dyfod yn mlaen trwy ganol peryglon a dirmyg oddiwrth eu cydradd, i ymgeleddu yn anwyl a pharchus gorff drylliedig yr Arglwydd Iesu.

Wedi darfod gwyl y pasg, gallwn dybied i'r Iesu, a'r ychydig ganlynwyr oedd gydag ef (oblegid nid oedd y deuddeg dysgybl wedi eu galw eto), adael y ddinas, a myned i barthau mwy gwledig Judea i bregethu yr efengyl, a bedyddiai y dysgyblion y dychweledigion. Mae yn hynod mai dros yr adeg fer yr oedd gweinidogaeth Crist a gweinidogaeth Ioan yn cydredeg, a thra yr oedd dysgyblion yr Iesu eto heb eu galw yn Apostolion, y darfu iddynt fedyddio y dychweledigion. Yr oedd Ioan wrth ei waith yn Ainon, yn agos i Salim, nid yn mhell o'r man y bedyddiasid yr Arglwydd Iesu ganddo. Y pryd hwn y cyfododd dadl rhwng rhai o ddysgyblion Ioan a'r Iuddewon yn nghylch puredigaeth, sef y bedydd dwfr, a pha un o'r ddau

ddysgawdwr oedd y mwyaf. Aeth dysgyblion Ioan at eu hathraw i ymholi yn nghylch y mater, a gellid casglu oddiwrth eu llais, fod Ioan a'i fedydd yn dechreu cilio i'r cysgod, a'r Iesu yn dyfod yn fwy i'r golwg, ac i ffafr y bobl. Siaradent fel dynion eiddigeddus dros eu hathraw, a'i fod ef, a hwythau fel ei ddysgyblion, mewn perygl o gael eu cuddio o'r golwg gan boblogrwydd y dysgawdwr newydd. Gorwedd yr egwyddor oddiar yr hon y gweithredent yn ddwfn yn y natur ddynol, a pharha i fod yn achos llawer o anghysur; canfyddir a theimlir ei gweithrediad yn fywiog mewn byd ac eglwys, ond mae yn rhwym o roddi ffordd o dan ddylanwad sancteiddiol yr efengyl. Nid oedd Ioan Fedyddiwr yn Gristion, ac yr oedd yr ergyd yn ei daro ef yn y man mwyaf tyner ar ddyn. Eithr yn yr amgylchiad hwn rhagorai Ioan ar holl rai rhagorol y ddaear. Fel y soniwyd, yr oedd dull dysgyblion Ioan yn siarad am yr Iesu yn dangos fod gradd o eiddigedd, os nid chwerwedd, yn eu meddyliau, a rhoddent rywbeth tebyg iawn i awgrymiad ei fod yn gwneyd yn annheilwng fel hyn a'r unig un oedd wedi ei gyflwyno i sylw a ffafr y bobl. Eithr adgofiai Ioan iddynt ddarfod iddo ef bob amser ddywedyd yn eglur wrthynt mai nid efe oedd y Messiah, ond ei fod wedi ei anfon i barotoi y ffordd o'i flaen; ac mewn aralleg wir brydferth, geilw ei hun yn "gyfaill y priodfab," yr hwn oedd yn llawenychu yn fawr yn nyrchafiad ei gyfaill y priodfab. "Y llawenydd hwn mau fi gan hyny a gyflawnwyd. Rhaid ydyw iddo ef gynyddu, ac i minau leihau." Mae poblogrwydd fel y mêl i ddyn bob amser, ac i lawer dyn y mae colli poblogrwydd bron mor chwerw a cholli bywyd; eithr

wele y gwr rhagorol hwn yn rhoddi i fyny bob peth sydd yn anwyl gan ddyn, a hyny pan oedd yn mlodau ei oes ac anterth ei boblogrwydd. Yr oedd yn barod hollol i aberthu ei glod a'i barch i barotoi ffordd yr Arglwydd. Dyma yr esiampl ddysgleiriaf, efallai, o hunan-ymwadiad a gawn yn mysg goreuon y byd. Nid oedd ond yr Iesu yn rhagori arno.

Tybia rhai fod Iesu y pryd hwn wedi gadael dyffryn yr Iorddonen, a gwasgu yn mlaen i Galilea isaf, oblegid cawn ef yn pregethu i Herod, tywysog y rhan hono o'r wlad, ac nid yw yn debyg y buasai y gwr mawr, balch a moethus hwnw, yn myned can belled a glanau yr Iorddonen i'w wrando; ac ni ddywed yr hanes pa un ai efe a ddaeth at Ioan, neu Ioan ato ef. Yr olaf a ymddengys fwyaf naturiol. Hoffai Herod ei ddoniau, a mynych wrandawai ef, hyd nes yr aeth Ioan i'w argyhoeddi o'r pechod o odineb, yn yr hwn yr oedd yn byw gyda gwraig Phylip ei frawd. Pan y cyffyrddodd y pregethwr tanllyd, gonest, â hyn, digiodd ef a'i fenyw buteinllyd yn aruthr, a buasai ei fywyd yn myned yn y fan yn aberth i ddyhuddo eu llid, oni buasai fod ar Herod ofn i'r bobl ei amddiffyn, a chyfodi terfysg a fuasai yn berygl o ddwyn y fflangell Rufeinig arno ef a hwythau. Anfonodd y brenin ef i garchar yn mhell draw i fynyddoedd Gilead, lle yr oedd ganddo balas, fel y bernir yn gyffredin, a dyma derfyn gweinidogaeth gyhoeddus Ioan Fedyddiwr. Yr oedd wedi ateb dyben mawr ei anfoniad fel cyhoeddydd o flaen y Messiah, a dyma y "Llef" yn dystewi yn awr am byth. Mae yn eglur fod poblogrwydd yr Arglwydd Iesu yn cynyddu yn Judea gyda lluaws y bobl, ac fod y Phariseaid yn dechreu eisoes genfigenu

wrtho. Pan yn aros yn Judea y pryd hwn, dywedir yn Ioan 3: 22, fod yr Iesu yn bedyddio yno; eithr yn Ioan 4: 2, na fedyddiasai yr Iesu ei hun, ond ei ddysgyblion. Ymddengys yn bur debyg mai sel danbaid y dysgyblion eu hunain oedd wedi eu cynhyrfu i hyn, ac nad oedd ganddo ef un llaw yn y gorchwyl. Wrth ganfod Ioan mor llwyddianus gyda ei fedydd ef, ac mai eu nôd hwythau oedd rhagori ar Ioan, ac yn lle eu hateb, na thaflu dwfr oer megys ar eu teimladau gwresog, symuda yr achlysur trwy adael y lle, a chychwyn tua Galilea; a thrwy i Herod garcharu Ioan, a rhoddi terfyn ar ei fedydd yntau, nid ydym mwyach yn clywed son am fedyddio o gwbl gan ddysgyblion Ioan nac eiddo yr Iesu.

Gwahaniaetha y cysonwyr yn fawr yn nghylch pa hyd yr arosodd yr Arglwydd Iesu yn ngwlad Judea. Dichon mai o saith i wyth mis. Dewisai yr Arglwydd Iesu y waith hon fyned tuag adref trwy Samaria, sef y ffordd agosaf o lawer o Judea i Galilea, yn hytrach na chwmpasu trwy Jericho ar hyd y ffordd y daethai i Jerusalem i'r wyl. Tua chanol dydd yr ail ddiwrnod, dybygem, wedi cychwyn, cyrhaeddodd ef a'r ychydig wyr oedd yn ei ganlyn, Sichar, neu Sichem, o gylch 35 milldir o Jerusalem. Ac er ei bod yn ddiweddar yn yr hydref, yr oedd eto yn wresog o dan haul canolddydd. Teimlai yr Iesu yn flin gan y daith, ac eisteddodd i orphwys wrth ffynon, neu bydew, oedd tu allan i'r ddinas, lle yr yfasai y tad Jacob, ei weision a'i anifeiliaid, yn yr hen amser, lawer gwaith. Aeth y dysgyblion i'r ddinas i brynu ychydig luniaeth iddo ef a hwythau—ychydig fara a ffrwythau, mae'n debyg—gan fwriadu cael dwfr o'r pydew i'w yfed gyda eu

tamaid. Y mae teithwyr a fuont trwy y wlad hono yn unfryd unllais am leoldeb y ffynon, neu y pydew hwn, ac mai hwn oedd yr un y bu ein Gwaredwr yn eistedd ar gareg gerllaw iddo, yn siarad â'r wraig o Samaria. Mae yn hynod mai dyma yr unig lecyn yn yr holl wlad, o ychydig droedfeddi bob ffordd, y gellir bod yn gwbl ddibetrus fod traed yr Iesu wedi bod yn sangu arno. Dywed teithiwr Ysgotaidd duwiol, iddo ef, pan ar y llanerch yn 1868, ei gylchynu lawer-oedd o weithiau, gan sangu bron bob modfedd o hono, er mwyn y boddlonrwydd o sangu yr un man ag y bu ei Waredwr yn sefyll arno.

Tra yr eisteddai yr Iesu yno ei hunan, daeth gwraig o'r ddinas a'i llestr at y ffynon i dynu dwfr, pan y cymerodd yr ymddyddan hynod a gawn yn y 4edd benod o Ioan le. Canfyddai y wraig wrth wisg a gwedd yr Iesu mai Iuddew ydoedd, a synai yn fawr wrth ei glywed yn gofyn iddi hi am ddwfr i'w yfed. A gafodd yr Iesu ddwfr ganddi? Naddo, feddyliem. Anghofiodd ei syched a'i awydd am fwyd, yn y dyddordeb a gymerodd yn addysgu y wraig, a gwneyd gwaith ei Dad. Mor angerddol oedd y teimlad hwn ynddo, fel yr anghofiodd angenion ei natur. Yr oedd yr Iesu mawr yn deall y natur ddynol yn ddigon da; gwyddai ef fod gofyn yn barchus a serchog fel hyn am gymwynas fechan gan elyn yn lleddfu ei theimlad tuag at y gofynydd. Rhyw ddynes lled hynod oedd hon, ond nid oedd dim mewn un modd yn gas ynddi. Yr oedd yn gwbl ysgafn, diofal a da ei natur, nes y deallai fod y gwr oedd yn ymddyddan a hi yn broffwyd, ac yn gwybod ei holl gampau o foreu ei hoes gyda ei lluaws gwyr, o'r hyn nid oedd ganddi ne-

mawr le i ymffrostio, fel y canfyddwn wrth wedd yr hanes. Ond eto cawn hi ar unwaith yn gwbl rydd i siarad am bethau crefydd. Yn ei syndod, ac wedi rhyw haner brawychu, gadawodd ei hystên wrth y ffynon, a rhedodd i'r ddinas i ddweyd yr hanes wrth ei chymydogion. "Deuwch," meddai, "a gwelwch ddyn a fynegodd i mi yr hyn oll a wnaethum." Mae yr hysbysrwydd yn cynhyrfu y ddinas trwyddi, a'r trigolion yn lluoedd yn dod allan at y ffynon i weled y proffwyd, fel y galwai y wraig ef. Aeth yr Arglwydd Iesu i'r ddinas gyda hwy, ac ar eu taer ddymuniad arosodd dros ddau ddiwrnod, ac yn ddiau eglurodd ei hun yn mhellach nag y gwnaethai wrth y wraig, nac wrth neb o'i ganlynwyr ychwaith, oddieithr wrth Nicodemus. Gwaredwr oedd ar y truain hyn ei eisiau, ac nid Messiah gwladol, fel yr Iuddewon. Felly yr oedd yn ddiogel i'r Iesu da agor trysorau gras yn llawn iddynt heb gymaint o berygl iddo gael ei gamddeall, fel yr oedd ei gyd-genedl yn gwneyd.

Rhyw bedwar amgylchiad sydd genym hanes am danynt pryd y darfu i'r Iesu wneyd sylw o neb o'r tu allan i'w genedl ei hun, a dyna y cyntaf. Yr amgylchiadau ereill oeddynt gyda'r canwriad Rhufeinig, sef meistr y gwas claf, y wraig o Ganaan, a'r Groegiaid a ddaethent i fyny i Jerusalem ar ei Basc olaf. Yn anwyl y byddo ei enw am gymaint a hyn fel drws gobaith i'r cenedloedd. Meddai y Samariaid hyn syniad llawer mwy cywir am y Messiah na'r Iuddewon eu hunain. "Ni a wyddom mai ti yw Crist, Iachawdwr y byd" meddent, tra mai am deyrn gwladol a dim arall y dysgwyliai lluaws yr Iuddewon. Tynai yr Iuddewon y syniadau hyn o lyfrau y proffwyd Es-

eciel, Daniel, a Zecheriah, trwy eu cam-esbonio. Ond canfyddai y dynion syml hyn, o lyfrau Moses yn unig, mai proffwyd oddiwrth Dduw ydoedd i fod, ac y byddai ei swydd yn dal perthynas a holl genedloedd y ddaear. Yn wir, pe buasem wrth ffynon Jacob yn edrych ar wedd yr Iesu, ac yn clywed tôn ei laïs, neu yn Sichar y ddau ddiwrnod dedwydd, dysglaer hyny, yn gwrando ei addysgiadau a dderbynid yn awyddus gan y dorf, cawsem dystiolaeth i'n synwyrau naturiol mor rhydd ac mor rhad â chyda pha sirioldeb yr oedd yr Iesu yn tori bara ac yn tywallt dwfr y bywyd i bob un a estynai ei law ato. Ni chafodd yr Iesu yn ei holl fywyd, gymaint o anrhydedd ag a gafodd yn Sichar; cafodd ei gredu ar ei air noeth, heb son am wyrth nac arwydd o'r nef. Beth a ddaeth o'r bobl ddyddorol hyn ar ol i'r Iesu droi ei gefn? A ddaliasant eu ffordd? Nid ydyw yr hanes ysgrythyrol yn dweyd dim am danynt, ond, ai nid y rhai hyn, tybed, a dderbyniasant yr efengyl mor rwydd o enau yr Efengylwyr? Dywedir mai dinas yn Samaria ac nid dinas Samaria sydd yn y testyn gwreiddiol, yn yr hanes yn Act. 8, 5. Digon posibl, ac yn wir mae yn debygol, mai yr un teulu anwyl oeddynt. Beth bynag, teimla y darllenydd yn dda tuag atynt o herwydd eu parch i'r Iesu.

Buasai i'r Iesu aros yn hir gyda y Samariaid yn rhoddi achlysur i'r Iuddewon i'w gablu, ac yn mhen deuddydd aeth yn mlaen tua Galilea. Tra yn Sichar y dywedodd y geiriau hyny wrth ei ganlynwyr, "Dyrchefwch eich llygaid ac edrychwch, onid oes eto bedwar mis hyd y cynhauaf?" &c. Y mae dadl dŷn yn mysg y beirniaid, a oedd gan yr Iesu olwg ar dym-

or y flwyddyn yn y geiriau. Tybygem yn sicr fod, a'i fod yn siarad pan oedd eto bedwar mis hyd amser cynhauaf, a rhydd hyn i ni fantais i ganfod pa amser ar y flwyddyn ydoedd gyda sicrwydd. Cymerai y cynhauaf le tua chanol Ebrill, ac os rhoddwn gam yn ol bedwar mis, cawn ein hunain yn nghanol Rhagfyr, amser hau yn y wlad hono. Os felly, yr oedd wyth mis rhwng amser y pasc a gadwodd efe yn Jerusalem a'r ymddyddan wrth ffynon Jacob. Treuliodd yr Iesu yr amser maith hwn yn ngwlad Judea, er rhoddi i lywiawdwyr yr Iuddewon bob mantais i ganfod ei nodweddiad, a deall yn deg yr hyn ydoedd ef yn ei honi. Eithr ni dderbyniodd ond y diystyrwch a'r esgeulusdra mwyaf oddiar eu dwylaw, ac o herwydd hyny, gadawodd hwy gan wneyd ei ffordd i Galilea.

Pan ddaeth i Galilea y waith hon, cafodd dderbyniad lled groesawgar, wedi iddynt glywed yr holl bethau a wnaethai efe yn Jerusalem ar yr wyl. Ni ddywedir yn mha dref yn Galilea y cafodd y derbyniad a'r croesaw hwn. Os yn Nazareth, ni arosodd yno ond ychydig amser y waith hon, oblegid cawn ef yn Cana yn fuan, lle y troisai y dwfr yn win. Wedi clywed ei fod yno, daeth pendefig o Capernaum ato gan ddymuno arno ddyfod gydag ef i iachau ei fab, yr hwn oedd yn mron marw. Oddiwrth y gradd o doster a ymddangosai yn atebiad yr Arglwydd Iesu, gallwn feddwl mai cael ei wasgu o'i anfodd gan amgylchiadau yr ydoedd i ddod ato ef i ymofyn cymorth, ac na ddaethai yn agos pe gallasai osgoi hyny ryw ffordd. Nid cael ei dynu, ond cael ei wthio, megys, yr ydoedd. Hyd yn hyn nid oedd yn deall neges Iesu Grist i'r byd, ac ni allai ond rhyfeddodau ac arwyddion gweledig i'r syn-

wyrau alluogi y fath i gredu. Cawn yn fynych fod atebion yr Iesu i erfyniadau a gofynion a gyflwynid o'i flaen, yn llai priodol i'r holiadau, fel y cyfryw, nag i ansawdd meddwl, cyflwr, a theimlad calon yr ymofynydd. Felly ceir fod ei atebion i ofyniadau cyffelyb oddiwrth bersonau gwahanol yn aml iawn yn dra gwahanol.

Yn fynych deuai tri math o ymofynwyr at yr Iesu. Un math oeddynt y rhai oedd eisiau gweled rhyfeddodau o ran cywreinrwydd, neu i ateb eu hamcanion hunanol hwy eu hunain. Ni roddid croesaw i'r rhai hyn ganddo un amser. Dosbarth arall oedd y rhai a deimlent eu hangen ysbrydol o'r fath nad allai neb ond efe ei hunan eu gwneyd i fyny; derbyniai y rhai hyn gyda thynerwch dwyfol bob amser. Deuai dosbarth arall drachefn megys rhwng y ddau, sef rhai a wthid ato gan rym angen a chyfyngder allanol, ac wedi y derbynient y gymwynas a ofynent, yn ymlynu wrtho gyda pharch a chariad o hyny allan. Un o'r dosbarth hwn oedd y pendefig o Capernaum. "Tyred i waered cyn marw fy machgen," meddai. Clywir gruddfaniad, a gwelir deigryn yn mhob gair o ymadroddion y tad pryderus. Rhag ei ddigaloni yn llwyr, bu yr Iesu yn dyner iawn; tynerodd y cerydd ysgafn gyda chalonoctyd iddo. Mae iaith y cerydd, "Oni welwch chwi arwyddion a rhyfeddodau ni chredwch," yn cynwys lle i obeithio am waredigaeth. Yr oedd gan y gwr ryw ronyn o ffydd, onide ni welsid ef yno o gwbl, ac y mae yn deall geiriau yr Iesu yn ffafriol i'w gais, ac yn gwasgu ei angen gyda mwy o daerineb. "Tyred i waered cyn marw fy machgen." Gwthiodd yr Iesu da y prawf gam yn mhellach, ond ar yr un pryd nerth-

ai ef i'w ddal drwy ddweyd, "Dos ymaith, y mae dy fab yn fyw. A'r gwr a gredodd y gair a ddywedasai yr Iesu."

Nis gallwn lai na meddwl fod pobl Sichar ag oeddynt wedi credu ynddo heb un arwydd, o flaen meddwl yr Iesu y fynyd hono. Y fath wrthgyferbyniad oedd rhwng y ddau fath bobl, un yn symlrwydd eu calonau yn llawn ffydd, cariad, a llawenydd, yn barod i dderbyn a chredu pob gair a ddywedai, a'r lleill na chredent ddim heb arwydd o'r nef ar ben pob gair. Rhaid fod troi oddiwrth y naill at y llall yn aredig ei deimladau tyner, yr hyn a barai iddo yn fynych ruddfan yn yr ysbryd. Tybiwn hefyd fod yn y geiriau, "Tyred i waered," gan y pendefig, swn awdurdodol, fod ynddynt adsain teimlad wedi ei seilio ar ei sefyllfa uchel yn y byd, a synai wrth dôn gorchymyn yr Iesu yn ei droi yn ol arno. Beth bynag am hyn credodd y gwr, oblegid cymerodd ei hamdden i fyned adref at ei fab claf oedd mor agos at ei galon. Yr oedd o gylch un o'r gloch y prydnawn pan ymddyddanai â'r Iesu, a gallasai yn hawdd gyraedd adref y prydnawn hwnw erbyn machlud haul. Rhyw bymtheg milltir o ffordd oedd ganddo, eithr ni chyrhaeddodd adref hyd y dydd canlynol. Y mae ei ofyniad i'w weision, "Pa bryd y dechreuodd wella?" yn deilwng o sylw. Dywedid wrtho fod y clefyd wedi ei adael ar unwaith, ac yn hollol. Nis gallai ei ffydd cyn hyn feddwl ond am wellhad graddol, eithr pan ddeallodd fod iechyd llawn wedi ffrydio i'w natur yn y foment y dywedasai yr Iesu wrtho, credodd efe a'i holl dy. Yr oedd yn credu o'r blaen ddigon i dderbyn y fendith dymorol, ond o'r adeg hono cyrhaeddodd ei ffydd iachawdwriaeth dra-

gywyddol, ac yr oedd yn ddigon nerthol i ddylanwadu ar ei holl dylwyth hefyd i gredu. Dyma y teulu cyntaf, dybygem, a dderbyniwyd i'r eglwys Gristionogol.

Tua'r adeg hon ymwelodd yr Iesu â Nazareth. Yr oedd y son am dano wedi cyraedd yno o'i flaen. Clywsent son am ei fedydd yn yr Iorddonen, a'r oll a gymerasai le yno, ac am ei wyrth gyntaf yn Cana, ac wedi hyny yn Jerusalem, ac am iachad mab y pendefig o Capernaum, ac yn awr wele ef yn eu mysg. Pan ddaeth y Sabboth, trodd ei holl hen gymydogion allan i'r synagog, gan ddysgwyl ei glywed yn cyfarch y gynulleidfa, ac yn ol ei arfer aeth yntau yno i addoli. Estynodd penaeth y synagog iddo rol y Proffwydi, a darllenodd yntau ranau yn llyfr y proffwyd Esaias, y rhai oeddynt broffwydoliaeth amlwg am dano ef ei hun. Tebygol fod y geiriau yn eu hystyr gyntaf yn cyfeirio at ddatod rhwymau y genedl, a'u gollwng yn rhydd o Babilon. Mynych y mae ymadroddion y proffwydi yn cyfeirio at ddau amgylchiad, un bron yn ymyl, y llall yn mhell yn y dyfodol, a'r olaf y mwyaf pwysig o'r ddau. Cymhwysai yr Arglwydd Iesu yr ymadroddion yn yr ystyr olaf ato ei hun. Ni chynaliai ei hawl gydag un rheswm i ddangos mai efe oedd y Crist, dim ond dywedyd gydag awdurdod mai hyn oedd y ffaith. Yr effaith gyntaf arnynt ydoedd rhyfeddod ac edmygedd o'i ddoniau rhyfeddol, ac yntau heb dderbyn addysg well na'r tlotaf o honynt hwy; eithr wedi mynyd o ystyriaeth o'r hyn a ddywedai, trodd eu meddyliau at ei dlodi ef a'i deulu, a galwent am wyrth, fel y gwnaethid mewn manau eraill, i ategu ei honiadau. Grwgnachent o herwydd ei fod yn

cyfranu ei ffafrau i ddinasoedd eraill, trwy iachau eu cleifion, ond yn esgeuluso y cleifion yn mysg ei hen gymydogion. Dyna oedd eu murmur wrth eu gilydd, pan y trodd arnynt ac y rhoddodd eu meddyliau hwy eu hunain yn eglur o'u blaen. "Y meddyg, iachâ dy hun," meddynt. Yr wyt yn honi mai tydi ydyw y Messiah, cyflawnaist wyrthiau yn mhell oddi cartref, ac yr wyt yn proffesu dy fod yn abl i'n gwared oddiwrth ein gwendidau a'n doluriau, dyro brawf o hyny trwy wyrthiau yn dy ddinas dy hun. Etyb hwy trwy adgofio iddynt am eu proffwydi gynt; fod llawer gweddw dlawd yn dyoddef yn Israel yn nyddiau Elias, eithr na anfonwyd y proffwyd at un o honynt ond at y weddw baganaidd yn agos i ddinas Sidon. Yr oedd hefyd lawer o wahangleifion yn Israel yn amser Eliseus, eithr Naaman y Syriad paganaidd yn unig a lanhawyd. Diau fod hyn oll yn wirioneddau hollol hysbys iddynt, eithr yr oedd ei waith ef yn honi hawl i weithredu yr un modd a'r hen broffwydi, ac yn arbenig yn rhoddi yr amnaid lleiaf am ffafrio y cenedloedd yn eu lle hwy, neu yn eu gwneyd yn gydgyfranogion â hwy, yn eu llenwi o gynddaredd; ac yn groes i bob dynoliaeth, ymaflasant ynddo, gan ei redeg allan o'r ddinas tua phen craig uchel gerllaw, gyda'r bwriad o'i daflu drosti a'i ladd. Yr un gwirioneddau a barai i'r Samariaid deimlo yn dda a diolchgar ag a lanwai y rhai hyn â chynddaredd. Felly nid anmhriodol y gofynai Nathanael, syml-galon, "A ddichon dim da ddyfod o Nazareth?" Os oedd y goreuon o honynt a ymgynullasent i dy Dduw i addoli ar y Sabboth yn ddigon dibris i drochi eu dwylaw yn ngwaed un o'u cymydogion ag y gwyddent ei fod y dyn mwy-

af diniwed yn yr holl dref, nid oes achos synu fod y lle yn enwog mewn drygioni, a'r son am dano wedi cyraedd yn mhell. Yn nghanol y giwaid yma y treuliodd yr Arglwydd Iesu y 30 mlynedd cyntaf o'i oes, a rhaid fod eu hofer ymarweddiad yn poeni ei enaid cyfiawn o ddydd i ddydd.

Modd bynag, siomwyd hwy y tro hwn yn eu bwriadau drygionus, oblegid tra yr oeddynt tua phen y graig, llithrodd yn wyrthiol oddi rhwng eu dwylaw; yna gadawodd y gymydogaeth ac aeth i Capernaum, ac o hyny allan gwnaeth y ddinas hono yn brif gartref, er mai nid hir yr arosai yno, nac mewn un lle arall ar y tro. Yr oedd Capernaum yn lle cyfleus iddo i gychwyn taith i Galilea uchaf neu isaf, ac os codai erledigaeth mewn un dalaeth, ni byddai raid ond croesi Môr Galilea er bod o'i chyraedd mewn talaeth a llywodraeth arall. Yr oedd ei ddyfodiad yma hefyd yn ol cynllun mawr ei oes, fel y gallwn weled yn y broffwydoliaeth o eiddo Esaias am dano, "Tir Zabulon a thir Naphthali wrth ffordd y môr, tu hwnt i'r Iorddonen, Galilea y Cenedloedd. Y bobl oedd yn eistedd mewn tywyllwch a welodd oleuni mawr, ac i'r rhai a eisteddent yn mro a chysgod angau y cododd goleuni iddynt." Buom o'r un deimlad a brodyr yr Iesu, yn dymuno iddo fyned i Jerusalem boblog, ddysgedig, i gyflawni gwyrthiau, yn lle i dref dalaethol o'r neilldu, fel Capernaum. Eithr yr oedd y brif ddinas wedi ei wrthod. Yr oedd wedi rhoddi cynyg teg iddi, fel y dangoswyd, trwy arwydd o'r nef yn amser ei fedydd, trwy gyhoeddiad a thystiolaeth Ioan, a thrwy ei wyrthiau ei hun, i ddangos mai efe oedd y gwir Fessiah. Ond dirmygwyd y cwbl, ac yr oedd cyngrair wedi ei wneyd mor

gynar a hyn rhyngddynt i'w lofruddio. Felly nid oedd yn ddiogel iddo aros lle yr oedd awdurdod y llywiawdwyr Iuddewig yn cyraedd. Yr oedd Galilea hefyd yn boblog ryfeddol yn yr adeg hon, yn anhygoel felly bron. Mewn tiriogaeth o driugain milldir ysgwar, dywedir fod dros dair miliwn o drigolion yn cyfaneddu. Eithr fel yr oedd ei "awr" yn nesâu, talai ymweliadau m nych a Jerusalem, gan gyhoeddi mai efe oedd y Messiah.

---

## PENNOD X.

*Y ddalfa bysgod—Ei addysgiadau—Iachau y dyn ag ysbryd aflan ynddo, chwegr Pedr, ac eraill—Taith trwy Galilea.*

Buasai pump neu chwech o ddysgyblion yn dylyn yr Arglwydd Iesu am dymor, gyda mwy neu lai o gysondeb; buasent gydag ef yn ngwyl y Pasc yn Jerusalem, tra bu yn Judea ar ol yr wyl, ac ar y daith o Judea trwy Samaria i Galilea. Yr adeg hon, pan yn Capernaum, galwodd arnynt i roddi pob galwedigaeth i fyny, ac i fod o hyn allan yn ganlynwyr cyson iddo; ac yn raddol ychwanegodd eu nifer i ddeuddeg, yn ol rhifedi deuddeg llwyth Israel, er nad oes genym hanes galwad amryw o honynt. Ychydig wyddom am y rhan foreuol o oes y gwyr hyn, yn rhagor na'u bod o'r radd gyffredin o ddynion Galilea, amryw o honynt wrth eu galwedigaeth yn bysgodwyr ar lyn Gennesaret, a dau o honynt, sef Iago ac Ioan, o un o deuluoedd parchusaf yr alwedigaeth hono.

Pan y daeth yr Iesu i aros yn Capernaum, yr oedd ei enw yn adnabyddus i'r nifer luosocaf o'r preswylwyr, llawer yn ei barchu o herwydd iachâd mab y pendefig, a dechreuent grynhoi wrth y canoedd i'w weled a'i wrando. Cawn ef yn sefyll wrth fin y llyn, yn ymyl dau gwch pysgota, neu ddwy long, fel y gelwir hwy yn wastad gan yr Efengylwyr. Camai i un o honynt, ac archai i'r dynion wthio ychydig oddiwrth y tir, fel y byddai fwy wyneb yn wyneb â'r dorf oedd wedi ymgynull, ac oddiar fwrdd y llong fechan pregethai iddynt. Wedi darfod llefaru, mae yn gorchymyn ar i Pedr, yr hwn, efallai, oedd piau un o'r cychod, am iddo wthio ei lestr i'r dwfn am helfa o bysgod, gan fwriadu, fel y gwelwn yn mlaen, dal y pysgodwyr yn ei rwyd ei hun, oblegid canfyddai yn y dynion diddysg, ond synwyrol hyn, y defnyddiau mwyaf priodol at gyflawni ei wasanaeth a'i amcanion. Atèbai Pedr ef, iddynt fod yn poeni ar hyd y nos, yr amser goreu i bysgota mewn dyfroedd gloewon fel llyn Gennesaret, ond wedi methu dal dim. "Ond ar dy air di," meddai, "mi a fwriaf y rhwyd." Nid iaith anobeithiol am lwyddiant, feddyliem, ydyw y geiriau, eithr cyffelyb i ymadrodd y Salmydd, "Os yr Arglwydd nid adeilada y ty, ofer y llafuria yr adeiladwyr wrtho." Nid ofer a fu eu hymddiried yn eu hathraw. Cawsant y fath helfa na welsant ei chyffelyb erioed o'r blaen, er eu bod yn bysgotwyr o'u mebyd. Ac er bod eu rhwyd bron rhwygo, eto trwy gymorth eu cymdeithion yn y llestr arall, cadwasant eu gafael yn y cwbl, gan lanw y ddau fad nes oeddynt ar suddo o dan y pwysau. Cynyrfai hyn y gwyr syml i ddyfnderoedd eu calonau, a chaent gipolwg ar ogoniant y Person mawr oedd yn sefyll yn

eu mysg, fel ag i'w gwneyd yn gwbl barod i adael pob peth i'w ddylyn.

Sylwa Chrysostom (Ioan Aur Enau yr hen Gymry) ar yr amgylchiad hwn, fod yr Ysbryd Glan yn llefaru mewn ffurfiau ac ymadroddion sydd bob amser y mwyaf naturiol i ddylanwadu ar galonau y sawl y mae yn llefaru wrthynt. Wrth Dafydd, yr hwn oedd fugail defaid, dywedai, "Ti a fugeili fy mhobl Israel." Gyda'r doethion o'r dwyrain, y rhai a arferent efrydu Serydddiaeth, defnyddiai seren i'w harwain at yr Iesu. Wrth y wraig o Samaria, a ddaethai i dynu dwfr o'r pydew, dywedai am ddwfr y bywyd; ac wrth y gwyr hyny, calonau y rhai a lenwid â llawenydd bob tro y gwelent eu rhwyd yn llawn o bysgod, dywedai y caent hwy fod yn bysgodwyr dynion. Canfyddai llygad ffydd, yr hon oedd eisoes yn dechreu gweithredu yn mynwes Pedr, fod yno un mwy na dyn, a than deimlad o'i aflendid, ac yntau yn sefyll yn ymyl purdeb anfeidrol, mae yn syrthio wrth liniau yr Iesu, gan ddywedyd, "Dos ymaith oddiwrthyf, canys dyn pechadurus ydwyf." Mewn adeg o'r fath yma y mae dwfn deimlad yn dod i'r amlwg. Teimlai Pedr fel yr Israeliaid wrth droed mynydd Sinai, pan y safent o hirbell, gan ddywedyd, "Na lefared Duw wrthym, rhag i ni farw." Ond y mae yr Iesu ar unwaith yn symud ei ofnau; er ei fod yn sefyll yn mhresenoldeb uniongyrchol y Jehofa, eto Duw mewn cnawd ydoedd, a gellid yn ddiberygl nesau ato. "Nac ofna," oedd yr ateb, "o hyn allan ti a ddeli ddynion," yr hyn a arwydda ei osodiad yn y swydd o efengylydd ac Apostol.

Wedi dwyn y rhwyd a'r pysgod i'r lan yn ddiogel,

a gwneyd, yn ddiau, y goreu o honynt, gadawsant y cwbl gan ddylyn yr Iesu. Nid llawer oedd ganddynt, mae yn wir, i'w adael; ychydig rwydau a chychod pysgota ydoedd eu cwbl hwy yn y byd, ond yr oedd gymaint iddynt hwy a phe buasent yr etifeddiaeth decaf yn ngwlad Canaan. Nid hyd a lled yr etifeddiaeth, yn nghyd a nifer y meddianau, ydyw y peth, ond y pris roddir arnynt yn y serch. Ar ol hyn gadawa yr Iesu lan y llyn, gan fyned i'r ddinas. Y Sabboth canlynol ceir ef yn y synagog, ac yn athrawiaethu i'r bobl, nes oeddynt oll yn y syndod mwyaf. Ni chlywsent neb erioed o'r blaen yn llefaru yn debyg iddo. Yr ydoedd dull ei ymadroddion yn gynhyrfiol iawn, yn cael eu traddodi gyda nerth ac awdurdod, gan gario argyhoeddiad i gydwybodau y bobl. Nid fel yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid y llefarai. Siaradent hwy er dangos eu dysg a'u dawn yn aml; ac er y dywedent lawer o bethau da, nid oedd nemawr rym na bywyd ynddynt. Ymdrinient y rhan amlaf â rhyw holiadau cywrain nad oedd ynddynt nemawr fudd i enaid sychedig, pryd yr oedd dysgeidiaeth yr Iesu yn eglur, difrifol a defnyddiol, yn gymwys at y nôd, ac yn llawn bywyd. Nid iaith y doctoriaid oedd ganddo ef. Cyfeiriai ei ymadroddion gan mwyaf at y bobl gyffredin, "defaid cyfrgolledig ty Israel," mewn iaith wreiddiol, naturiol a grymus. Pechod a'i gosp, bywyd ac angau, amser a thragywyddoldeb, nefoedd ac uffern, oeddynt megys yn cael eu corffori yn ei ymadroddion. Yr oedd hynodrwydd mawr yn ei iaith. Mor dryloew ydoedd, fel y canfyddid y meddylddrych yn hytrach na'r geiriau; mor newydd, eto yn naturiol ac esmwyth. "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn,"

meddynt. Weithiau yn y synagog, weithiau yn y ty, yn fynych o dan yr awyr agored, ar y ffordd, wrth y ffynon, ar y mynydd, wrth lan y llyn, ac yn yr anialwch, dylifai ymadroddion o ddoethineb a chariad fel ffrwd risialaidd dros ei wefusau sanctaidd. Anmhosibl oedd iddynt fod yn fwy prydferth ac argraffiadol. Pan yn anog ei wrandawyr i ymddiried yn Nuw, cyfeiriai hwy at yr adar bach yn ehedeg yn yr awyr o amgylch, y rhai, er nad oeddynt yn hau nac yn medi, a borthid gan ragluniaeth ddwyfol. Cyfeiriai hwy drachefn at lili y maes oedd yn ei lawn flodau o gwmpas eu traed ar y pryd; ac er nad oeddynt yn llafurio nac yn nyddu, eto yr oeddynt mewn harddach gwisg nag a fu am Solomon erioed. Wrth edrych ar olygfa eang o dir triniedig a llawn ffrwythau, sylwai fel yr oedd Duw yn peri iddi wlawio ar y drwg a'r da. Wrth gyfarch ei wrandawyr o bysgotwyr, dywedai, "Pa ddyn o honoch os gofyn ei fab iddo bysgodyn, a ddyry efe sarff iddo?" Meddai wrth ei ddysgyblion, "Chwi yw goleuni y byd; dinas a osodir ar fryn nid ellir ei chuddio," gan gyfeirio â'i fys, mae yn debyg, at ddinas oedd yn y golwg ar fryn gerllaw. Pan yn edrych ar amaethwr yn gwrteithio ei faes, dywedai, "Chwi yw halen y ddaear." A phan yn cyffelybu ei ddau fath gwrandawyr i ddau dy, diau fod y fath ddau dy o flaen ei lygaid ef a'i wrandawyr ar y pryd, un wedi ei adeiladu ar y graig, mewn cyflwr da, a'r llall ar y tywod islaw, a'r llifogydd wedi golchi ymaith ei sylfaen, a'r adeilad yn furddyn adfeiliedig.

Yr oeddym wedi dylyn yr Arglwydd Iesu i'r synagog ar y Sabboth yn ninas Capernaum. Daethai yno y Sabboth hwnw greadur tlawd o ddyn âg ysbryd

cythraul aflan ynddo. Dywed yr efengylwyr Marc a Luc mai ysbryd cythraul aflan ydoedd hwn, a thybiwn yn sicr mai mewn aflendid corff a meddwl yn benaf yr oedd dylanwad yr un drwg i'w weled arno, nes ei wneyd yn wrthrych tramgwyddus i'r eithaf i fod yn agos ato. Parai ei olwg, ei arogl, a'i arferion aflan i bawb gilio draw oddiwrtho, a dymuno cael ei weled yn cael ei roddi yn ddigon dwfn yn y ddaear o'r golwg. Eithr yn nghanol y swp aflan yr oedd ynó ddyn, yn meddu enaid oedd yn fwy ei werth na'r byd, a digon oedd hyn i enyn cydymdeimlad yr Iesu tirion ato i'w ymgeleddu â'i ddwylaw ei hun. A phe gallem ond codi cwr y llen rhwng y ddau fyd i gael cipolwg ar y dyn hwnw heddyw, yn ei wn gwyn yn dylyn yr Oen, gallem anturio y syniad, nad oes ei lanach na'i brydferthach, na'i ddedwyddach ychwaith yn y wlad ddedwydd hono. A beth all fod ei deimlad at yr hwn a'i gwaredodd, ac a'i golchodd yn ei waed ei hun? Yn sicr, bydd yn rhywbeth i'r Iesu mawr ei hunan i gael ei amgylchu gan bedair mil a saith ugeinmil o'r fath yma i'w wasanaethu byth. Dyma fydd gwobr ei waith, ffrwyth ei lafur a'i ddyoddefiadau tua Gethsemane a Chalfaria. Rhaid i ninau, ddarllenydd, gael myned o dan driniaeth bur debyg i'r dyn hwn; ac yn wir, bydd cymaint o waith puro arnom ni ag oedd arno yntau.

Er fod y cythraul cryf yn ddigon trech na'r dyn, ac yn ei drin fel y mynai, fel yr oen yn nghrafangau y llew, pan ddaeth yr Arglwydd Iesu i mewn, teimlai y cythraul ei hun yn agosach nag y dymunai i un y gwyddai yn dda oedd yn anfeidrol gryfach nag ef. Ac mewn ymwybodolrwydd o'i berygl, gwaeddai allan

trwy lafar y dyn, "Beth sydd i ni a wnelom a thi, Iesu o Nazareth, ni a'th adwaenom pwy ydwyt, sanct Duw." "Y byd nid adwaenai ef," medd Ioan, eithr yr oedd y nefoedd ac uffern yn ei adnabod yn dda, ac yn dwyn tystiolaeth iddo. Ond y gofyniad naturiol yma ydyw, beth ydoedd dyben y gyffes hon? Ymddengys yn ddyeithr fod y cythraul yn onest yn y cyhoeddiad hwn o'r Iesu, oblegid neges yr Iesu yn y byd oedd dinystrio ei deyrnas a'i lywodraeth ef. Dysgwyliasem yn hytrach iddo ei wadu, a cheisio cuddio ei ogoniant. Eglur yw mai nid cael ei orfodi yn groes i'w ewyllys yr ydoedd i wneyd y gyffes, oblegid mae yr Iesu yn ei wahardd ac yn ei atal yn y fan. Rhaid i ni synied mai gwaedd o arswyd ac ofn gwasaidd a gwenieithgar ydoedd, er ceisio lliniaru y dynged a ofnai ac a wyddai yn dda oedd yn ei haeddu am boenydio y dyn druan. Neu ynte ei fod yn ddigon eofn i amcanu niweidio achos yr Iesu, gan ddysgwyl y byddai tystiolaeth o'i enau brwnt ef, "tad y celwydd," yn foddion i ddwyn amheuaeth yn ei erbyn, ac yn rhoddi mantais i'w elynion dynol ddweyd mai trwy Beelzebub, penaeth y cythreuliaid, yr oedd efe yn bwrw allan gythreuliaid.

Wedi y cyfan, yr ydym bron a meddwl wrth olwg yr hanes, fod y diaflyn hwn mor bell o'i go ag oedd y dyn truan, ac fod presenoldeb, edrychiad, a geiriau yr Iesu wedi ei yru na wyddai beth oedd yn geisio ei ddweyd. Clywir swn cynddeiriogrwydd gwyllt yn y geiriau, ond cauwyd ei geg yn y fan gan air awdurdodol yr Arglwydd Iesu, a bu gorfod iddo ufuddhau heb un gair yn rhagor, eithr rhoddodd waedd echrydus wrth gael ei fwrw allan. Ysgrech naturiol o boen

ydoedd, dybygem. Dywed Marc iddo rwygo y dyn, ond dywed Luc, y meddyg, na wnaeth ddim niwed iddo. Mae'n eglur ddarfod i'r creadur galluog wneyd cymaint ag a allai o ddirmyg a niwed i'r dyn trwy ei daflu i ganol y gynulleidfa, eithr ni allodd wneyd un niwed parhaus ac o bwys iddo. Llanwyd calonau y gwyddfodolion â braw wrth yr olygfa. Pwy a all beidio meddwl yn fawr o'r Iesu wrth ei weled yn achub y gwan digymorth o enau y llew rhuadwy oedd ar ei ddinystrio byth gorff ac enaid. Diolch iddo dros ein cyd-ddyn truan, a hyfryd genym feddwl nad ydyw wedi cyfnewid dim eto, ond ei fod yr un mor gynes ei deimlad tuag at ddyn yn awr pan y mae ar ei orsedd yn y nef ag oedd y pryd hwnw yn y synagog yn Capernaum. Gallem feddwl fod cynwrf arswydus yn myd y cythreuliaid yr adeg hon. Ymddengys fod y diafol pan yn ei demtio ar y mynydd mewn rhyw amheuaeth pwy ydoedd, ac yn ymdrechu cael hyny allan trwy ofyn mewn amrywiol ffyrdd, ai Mab Duw ydoedd? Yr oedd y diafol a'i angylion yn awr yn gwybod yn dda pwy oedd, a byddai eu hwynebau yn gwelwi pan y deuai yn agos atynt. Mae hefyd i'w ganfod fel ffaith eglur nad oedd yr Iesu yn hoffi llawer o'r swn a'r moliant oedd yn codi iddo fel gwneuthurwr gwyrthiau, tra y byddai hyny yn peryglu ac yn cuddio ei ddefnyddioldeb fel dysgawdwr ac efengylydd. Wedi i wasanaeth y synagog fyned drosodd, aeth yr Arglwydd Iesu i mewn i dy Simon Petr. Yr oedd chwegr Petr ar y pryd yn glaf iawn, gallwn feddwl, ac ar ddymuniad y teulu adferodd yr Iesu hi ar unwaith i'w chyflawn iechyd a nerth, fel y gallai weini ar y cwmni fel pe na buasai dim wedi dygwydd

iddi. Gadawodd pob olion o'r afiechyd ei chyfansoddiad ar air yr Iesu.

Ymdaenodd son am y ddwy wyrth hyn, y naill ar ol y llall, yn fuan trwy yr holl ddinas; ac ar fachlud haul dygwyd lluaws o gleifion o bob afiechyd gwahanol ato. Arosent nes myned o'r haul i lawr, naill ai fel y byddai yn haws i'r cleifion ddod allan, neu ynte arosent i'r Sabboth fyned heibio, yr hyn oedd am chwech o'r gloch yn yr hwyr. Ac "efe a'u hiachaodd hwynt oll." Wedi pregethu efengyl y deyrnas a iachau cleifion Capernaum oll, neu o leiaf gynifer ag oedd yn meddwl digon o hono i ddod allan, wedi gwlawio cymaint o fendithion ag ydoedd o lestri i'w derbyn, gadawodd yr Iesu y ddinas boblog, ac am y waith gyntaf cymerodd gylchdaith trwy ddinasoedd a threfydd Galilea isaf ac uchaf. Mynai roddi mantais i bob enaid, o wendid plentynaidd hyd wendid henaint, i gael golwg ar ei berson, i'w glywed ef ei hun yn cyhoeddi efengyl y deyrnas, ac i'w weled yn cyflawni gweithredoedd nerthol i brofi i bawb diragfarn mai efe oedd y Messiah. Nid ymddiriedai yr Iesu da i weision anfedrus i wneyd y gwaith drosto, ac iddo yntau eistedd mewn esmwythder. Na, teithiai ar ei draed drwy y cymoedd a thros y bryniau, ac fel y symudai yn mlaen, cyflawnai wyrthiau o drugaredd ar y trueiniaid a fyddent ar ei lwybr. Cludid y newyddion am hyn yn mhell, a chyda chyflymder yr awelon bron; a dygid cleifion ato o Syria dros fynyddoedd Libanus ac Anti-Libanus, hefyd o Judea a Jerusalem, ac o'r wlad tu hwnt i'r Iorddonen. Rhaid fod llawer o honynt yn teithio milltiroedd lawer o ffordd, eithr nid ai hyny yn ofer, oblegid caffai pob un ei neges. Pob gwyneb

gwelw a adferid i'w wrid naturiol, pob clust gauedig a agorid, a phob llygad llwyd a loewid; ni wrthodid neb gan yr Iesu grasol. Diangai yr ysbrydion aflan fel y mellt o'i ffordd, a gwasgai y tyrfaoedd mawrion gymaint ato i wrando arno a derbyn iechyd o'i law, fel y rhaid fod ei lafur bron yn ddidor, a diau ei fod mewn blinder a lludded yn fynych. Eithr nid oedd efe yn arbed dim arno ei hun, oblegid nid oedd dim yn ormod ganddo i'w wneuthur i ddyn.

Nid oes genym un sicrwydd am y llwybr a gymerodd yr Iesu i wneyd y gylchdaith hono trwy Galilea. Y llwybr mwyaf tebygol, medd yr enwog Greswell, ydyw iddo gymeryd glan orllewinol yr Iorddonen tua'r gogledd, fel y gallai trigolion Decapolis o'r tu arall i'r afon gael mantais i'w weled a'i glywed, a dod a'u cleifion ato am iachad; yna ar hyd terfynau Tetrarchiaeth Phylip, a'i wyneb tua'r gorllewin, i roddi mantais i bobl Syria; oddiyno ar hyd terfynau Tyrus a Sidon, a'i wyneb tua'r dehau, fel y cai yr ardaloedd poblog hyny siawns; ac yn olaf, ar hyd ffin Samaria a Galilea, ac yn ol gyda glan y llyn i Capernaum. Mae yn lled amlwg mai pan ar y daith hon y dewisodd yr Iesu y gweddill o'i ddysgyblion. Eglur yw mai Galileaid oeddynt oll ond Judas Iscariot, yr hwn y mae yn debyg oedd o lwyth Juda.

Yn rhyw le ar y daith hon y daeth y gwr gwahanglwyfus at yr Iesu, gan ymostwng ar ei liniau a dywedyd, "Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhau." Dyma y waith gyntaf, ar a wyddom, i'r Iesu gael ei gyfarch gan neb dan yr enw mawreddig hwn, "Arglwydd." Meistr, Rabbi, Athraw, y gelwid ef cyn hyn, fel y gwelwn yn hanes Nathanael, Nicodemus, a'r

wraig o Samaria. Mae yn debygol hefyd mai dyma y tro cyntaf iddo weled un dyn yn syrthio mor isel a hyn o'i flaen. Yn ol Luc y physygwr, yr oedd y dyn yn llawn gwahanglwyf; yr oedd ei drueni yn anaele, a'i achos yn gwbl anobeithiol am wellhad byth trwy unrhyw foddion dynol. Ymddengys ymadrodd y gwan tlawd hwn fel llais syml a gostyngedig ffydd, yr hon oedd yn foddlon i gymeryd y canlyniadau pa beth bynag fyddent. "Arglwydd, os myni;" nid oes yma yr amheuaeth lleiaf am ei allu, dim *os* fel eiddo y gwr hwnw yn Matt. 9 : 22, a ddywedai, "Os gelli di ddim, cymorth ni." Estynodd yr Iesu ei law a chyffyrdd-odd ag ef gan ddywedyd, "Mynaf, bydd lân." Buas-ai cyffyrddiad â'r gwahanglwyfus yn aflanhau unrhyw un arall yn y fan, eithr yr oedd cyffyrddiad yr Iesu yn gwneyd yr aflan yn lân. Gorchymynodd yr Iesu i'r dyn beidio cyhoeddi pa fodd y glanhawyd ef, ond myned a dangos ei hun i'r offeiriad ac offrymu dros ei lanhad, yn ol y ddeddf. Yr oedd ei afiechyd wedi ei wahanu er ys hir amser oddiwrth bawb oedd yn an-wyl ganddo, yn gystal ag oddiwrth foddion crefyddol a chymdeithas yn gyffredinol, ac yr oedd hyn yn ang-enrheidiol cyn y gallasai gael derbyniad yn ol i blith dynion. Hwyrach hefyd na fynai yr Iesu gwtogi ar gyflog yr offeiriad, a rhoddi iddo achlysur i'w gablu. Eithr er i'r dyn gael gorchymyn i dewi, yr oedd ei galon yn rhy lawn o ddiolch i fod yn ddystaw. Nat-uriol iawn iddo fuasai geiriau y Salmydd "Tra y tew-ais, enynodd tân ynof." Ond paham y gorchymynai yr Iesu iddo dewi? Rhag i'r lluoedd afiach gasglu ato er mwyn iechyd corfforol yn unig, ac felly atal ei orchwyl mwy pwysig o bregethu efengyl y deyrnas,

medd un. Rhag cynyrfu cenfigen ei elynion i'w ladd cyn ei amser, medd un arall. Gwaharddid ef hyd nes y dangosai ei hun i'r offeiriad, rhag, fel pe y dywedasai yr Iesu, i'r son gyrhaeddyd Jerusalem o dy flaen, ac i'r offeiriad o gasineb ataf fi, wrthod dy aberth a gomedd dy gyhoeddi yn lân. Y mae ymadroddion Marc yn cyfeirio y ffordd hon. "Efe a'i hanfonodd ymaith yn y man." Mae yn bosibl hefyd fod y gorchymyn i gyhoeddi neu gelu yn dal rhyw berthynas ag ansawdd meddwl y sawl a iacheid ar y pryd.

Mae yn anhawdd gadael y wyrth fawr hon; gan hyny goddefer i ni roddi tro eto i loffa dros yr un tir toreithiog. Dyma y gwahanglwyfus cyntaf a iachawyd gan yr Arglwydd Iesu. Pan ymaflai y clefyd anaele hwn yn y cyfansoddiad, nid oedd gan y dyoddefydd y gobaith na'r dysgwyliad lleiaf am wellhad byth; dim ond byw mewn poen ac anghysur i aros marw. O achos hyn efallai, yr oedd y gwahangleifion yn cadw draw heb ddod at y meddyg mawr, ac nid am nad oeddynt hwythau wedi clywed am dano. Byddent yn fynych yn ymgasglu at eu gilydd yn gwmniau bychain, gan na chaent gymdeithasu â neb arall; a diau fod llawer o siarad yn eu cymdeithasau pruddaidd am yr Iesu. Sonient am ei weithredoedd o drugaredd, gan ysgwyd pen mewn anobaith, oblegid nad oedd wedi gwella cymaint ag un o'r afiechyd oedd arnynt hwy. Ond dyma un creadur truenus a rhyw belydr o obaith yn tywynu i'w enaid, ac y mae yn ei feithrin ac yn ei dreiglo ol a blaen yn ei galon, nes o'r diwedd y mae yn dod yn ymddiried, yn ffydd yn ngallu yr Iesu i iachau y gwahanglwyf. Tybiwn ei fod yn ymddyddan ag ef ei hun, gan ddweyd, "Efe a

all fy ngwella, ond yr wyf yn ofni, pe nesawn ato y rhybuddiai fi, fel y gwna y Phariseaid yma, i gilio oddiar ei lwybr.'' Gallwn yn hawdd esgusodi y truan os oedd myfyrdod o'r fath yn dygyfor yn ei fynwes ofnus, oblegid nid oedd erioed wedi gweled wyneb hawddgar tirion yr Iesu, nac erioed wedi clywed ei lais tyner; canys ni oddefid iddo nesau yn mlaen yn mysg y torfeydd pan y byddai efe yn dysgu y bobl ac yn llefaru cysur i'r tlodion o'i amgylch. Eithr yr oedd gobaith yn sibrwd yn ei glust yn barhaus, "Mi a wn y gall fy iachau, a mynaf wybod ryw ffordd ai nid ydyw yn foddlon i wneyd hefyd. Nid oes genyf ddim i'w golli ond hyny o obaith sydd genyf, os fy ngwrthod a wna." Nid oedd un ffordd am dani ond myned i sefyll ar lwybr y byddai yr Iesu i ddyfod heibio; a dacw ef ar godiad tir gerllaw y ffordd y dysgwylid yr Iesu ar hyd-ddi, yn yspio i'r pellder gan ddysgwyl am i'r dorf oedd yn amgylchu yr Iesu ddod i'r golwg. O'r diwedd wele ef yn dyfod, ac O! fel y dychlamai ei galon mewn pryder, fel calon yr aderyn yn magl yr adarwr; a phan y daeth yn agos, anelai ato, a phan o fewn ychydig gamrau i'r meddyg mawr, syrthiodd i'r llwch gan waeddi, "Arglwydd, os myni ti a elli fy nglanhau." Yn nghanol dystawrwydd fel y bedd, rhoddodd yr Iesu mawr ei law arno gan ddyweyd, "Mynaf, bydd lân," a chyda sain yr ymadrodd, teimlai iechyd llawn yn ffrydio i'w gyfansoddiad. Wele ef yn iach, yn lân, yn gwbl rydd oddiwrth ei glefyd arswydlawn. Nid oes neb a wyr am ei deimlad ond y pechadur tlawd sydd wedi teimlo yr un llaw fendigaid yn rhyddhau ei enaid oddiwrth wahanglwyf pechod, o'r hwn nid oedd gwahanglwyf yr Iuddew ond cysgod.

Rhaid fod y daith faith a blin hon wedi cymeryd i fyny amryw fisoedd o amser yr Arglwydd Iesu, oblegid arwydda gwedd yr hanes iddo gyniwair trwy yr holl wlad yn fanwl gan ymweled a phob dinas a thref trwy Galilea, er rhoddi cyfle i bawb i'w glywed ac i'r cleifion truain gael mantais am iachad. Yna cawn ef yn dychwelyd drachefn i Capernaum.

---

## PENNOD XI.

*Yr Iesu yn ol yn Capernaum—Yn iachau y claf o'r parlys—Ordeinio y deuddeg dysgybl.*

Pan wybu preswylwyr Capernaum fod yr Arglwydd Iesu yn y ddinas, ymgasglodd y dinasyddion a dyeithriaid lawer o amgylch y ty yr oedd yn aros ynddo, a dygid y cleifion wrth y degau am iachad. O'r lluaws gwelodd yr Ysbryd Glan yn dda roddi hanes manwl am un, sef y claf o'r parlys. Dygid hwn gan bedwar o gyfeillion ffyddlawn ar fath o wely. Ymddengys fod y truan yn gwbl analluog i symud ei hun ac nid heb egni di-ildio y llwyddodd ei bedwar cyfaill i ddod a'u baich i wyddfod yr Arglwydd Iesu. Yr oeddynt yn rhy ddiweddar i allu dod i mewn i'r ty trwy'r ddor, ac yr oedd awydd y dorf gymaint am glywed a gweled fel na symudent fodfedd i roddi lle i neb. Eithr ni adawai y gwyr glewion hyn i rwystrau cyffredin eu hatal i gael eu neges, a chariasant y claf i nen y ty, ar hyd grisiau oddi allan, dybygem, ac yna gan nad oedd un ffordd arall yn bosibl, darfu iddynt ddidoi y ty trwy symud y priddlechau oddiar y to

gwastad a gollwng y claf a'i wely wrth gortynau i lawr ger bron yr Arglwydd Iesu. Wrth weled ffydd weithgar y claf a'i garedigion, estynodd drugaredd iddo cyn gofyn o hono, ond yn unig yn y dull egniol yr oedd yn ymwthio yn mlaen i'w cheisio. Gwnaeth y Duw-ddyn yma ddefnydd o ymadrodd newydd a hynod, sef, "Ha fab, maddeuwyd i ti dy bechodau." Mae yn wir fod hyn yn cyd-daro â syniad y bobl mai pechodau personol oedd yr achos o'r fath glefydau, eto mae fod yr Iesu yn honi awdurdod a berthynai i Dduw yn unig, yn synu y dorf ac yn cynyrfu gelyniaeth y Phariseaid oeddynt yn wastad yn ei wylio, gan ddysgwyl cael achos yn ei erbyn fel y gallent ei gyhuddo a'i ddarostwng. Mae yn amlwg hefyd fod y dyn ei hun yn teimlo mai ei bechod oedd yr achos o'i afiechyd. Yr oedd yr ergyd a darawodd y nerth o'i aelodau wedi deffro ei gydwybod. Cydnabyddai y ddyrnod fel barn arno am ei bechodau; fod ei anwiredd wedi ei ddal mewn man cyfyng. A chlywsai am yr Iesu fel iachawdwr i'r drylliedig o galon; ac os bu calon erioed yn teimlo eisiau iachad, hi a gurai yn mynwes y truan hwn. Canfyddai llygaid treiddgar yr Iesu i ddyfnder ei deimlad, a dywedai gydag awdurdod, "Ha fab, maddeuwyd i ti dy bechodau." Yn gyffredin yr oedd iachad ysbrydol, maddeuant pechodau, yn dylyn iechyd corfforol, ond yma, maddeuant yn gyntaf, a hyny mae yn eglur am fod y dyoddefydd o dan bwys argyhoeddiad o'r cysylltiad oedd rhwng ei bechod a'i bla; eithr dyma oedd ei brif neges, a chafodd hi yn llawn; torodd gair awdurdodol y Duw-ddyn y cadwynau, ac aeth ei enaid yn rhydd o rwymau oeddynt yn ei flino yn llawer mwy hyd yn nod na gefynau

haiarnaidd y parlys poenus. Nid oedd y dyn eto wedi symud ar ei wely, nac yn abl i hyny ychwaith, a phe buasai orfod i'w garedigion ei gario yn ol i'w dy, buasai yn ddedwydd iawn, oblegid "dedwydd ydyw yr hwn y maddeuwyd ei bechodau." Ni buasai iachad o'r parlys yn llanw ei angen heb i'w gydwybod gael cyhoeddiad o faddeuant; prin debygem y gallasai dderbyn iechyd corff cyn llefaru heddwch i'w enaid. Fel y soniwyd, iechyd corfforol yn gyffredin oedd yn agor y drws i dderbyn iachad ysbrydol; ond yma y blaenaf yn olaf a'r olaf yn mlaenaf. Wrth waith yr Iesu yn cyhoeddi maddeuant i'r dyn, cyhoeddai y Phariseaid yntau yn gablwr, sef ei fod yn honi awdurdod nad oedd neb ond y Duw goruchaf yn ei meddu, sef awdurdod i faddeu i ddyn ei bechodau. Mae yn wir nad oedd y dynion hyn wedi meiddio cymaint ag ysgwyd gwefus na thafod i ddweyd cymaint a gair, ond yr oedd y meddyliau hyn yn berwi yn eu calon, ac y mae yr Iesu yn llusgo megys eu meddyliau i oleuni dydd, gan eu dangos o flaen eu gwyneb ac yn ngwydd y dyrfa, ac nid allent hwythau eu gwadu. Yna mae yn gofyn iddynt pa un hawsaf, ai dweyd wrth y dyn claf, "Maddeuwyd i ti dy bechodau," ai dywedyd "Cyfod a rhodia?" Nid gofyn y mae, pa un hawsaf ai maddeu pechod, ai gwella y parlys, ond pa un hawsaf dweyd y naill neu y llall; oblegid gwyddai ef eu bod yn dirgel farnu mor hawdd oedd dweyd maddeuwyd i ti dy bechod, ond mai peth arall oedd gwneyd y fath ddywediad yn dda. Pwy a wyddai a oedd pechod y dyn wedi ei faddeu ai peidio? Ebai yr Iesu, "Ond fel y gwypoch fod gan Fab y dyn awdurdod ar y ddaear i faddeu pechodau," dywedai wrth

y claf, "Cyfod, cymer dy wely i fyny a dos i'th dy." Yna cyfododd yn y man ac ymaith ag ef, yn iach gorff ac yspryd, gan ogoneddu Duw. Dyna iddynt brawf i bwrpas fod ganddo ef awdurdod i faddeu pechodau. Am effeithiau y wyrth fawr hon ar y Phariseaid nid ydyw yr efengylydd yn dweyd dim, am nad oedd dim da i'w ddywedyd, mae'n ddiau; ond am y lluaws oedd heb ymgaledu fel hwy yn erbyn y gwirionedd y dywedir, "A rhyfeddu a wnaethant a gogoneddu Duw, yr hwn a roddes gyfryw awdurdod i ddynion." Teimlent hwy fod yr awdurdod a roddwyd i'r dyn Crist Iesu, wedi ei roddi er mwyn dynion, ac yn achos o fawr lawenydd i bob dyn byw.

Yr oedd poblogrwydd yr Arglwydd Iesu y pryd hwn yn Galilea a'r gwledydd cymydogaethol tu hwnt i ddim efallai a fu yn y byd o'r blaen nac wedi hyny. Yr oedd yr holl boblogaeth, o ddwy i dair mil-fil o eneidiau, wedi eu cynyrfu i'w gwaelodion. Yr oedd yn dra gwahanol i'r hyn ydoedd yn ebrwydd ar ol ei fedydd yn yr Iorddonen. Y pryd hwnw nid oedd efe ond Nazaread dinod, yn teithio gydag ychydig ganlynwyr; ond yn awr yn cyflawni y gwyrthiau mwyaf rhyfeddol, yn iachau pob clefyd ac afiechyd â gair neu gyffyrddiad, yn cael ei gylchynu bob dydd a phob awr o'r dydd gan filoedd dirif bron o bobl, ac i gael rhyw ychydig oriau o lonyddwch a gorphwysdra rhaid oedd iddo yn nyfnder y nos gilio o'r ffordd i'r bryniau draw o'r neilldu.

Nid yn unig ar y Sabbothau yn y synagog yr oedd yn cael cynulleidfaoedd i'w wrando, ond gwasgent ato yn barhaus, gynifer ag a allai ddyfod o fewn clyw ei lais; ond nid ydyw yr holl frwdfrydedd hwn yn codi

un dysgwyliad ynddo ef am wir lwyddiant i'w weinidogaeth. Nid oedd yr ymddangosiadau ffafriol hyn yn ei dwyllo ef yn y wedd leiaf; ond gwyddai o'r dechreuad y byddai i hyn oll fyned megys gyda'r awelon. Yr oedd yn canfod fod y llanw oedd yn cyfodi mor uchel, yn fuan i fyned yn drai isel; ac yn y rhagolwg yma, y mae yn dewis deuddeg o wyr, gan eu rhwymo, mewn ystyr, wrth ei berson. Ac wedi yr holl ofal a gymerodd i wneyd hyn, rhaid oedd cael tywalltiad yr Ysbryd Glan ar ddydd y Pentecost i orphen a pherffeithio y rhwymau hyn.

Mae yn wir y sonia yr Efengylwyr lawer am ddysgyblion yr Iesu yn flaenorol i hyn, a bod amryw o honynt yn ei ddylyn yma ac acw cyn yr amser hwn, a byddai yn ddigon naturiol i ni gasglu oddiwrth yr hanes weithiau eu bod yn ei ganlyn yn gyson, ond mae yn amlwg mai nid felly yr ydoedd, eithr yr oedd rhai o honynt wedi eu galw dros flwyddyn cyn hyn; ond rhyw fyned a dychwelyd yr oeddynt, yn ei ganlyn am dymor ar ei deithiau, bryd arall yn myned yn ol at eu gorchwylion hyd nes y byddai arno eu hangen drachefn. Ond y diwrnod y traddododd ei bregeth fawr ar y mynydd, y mae yn eu galw ato, ac yn dewis deuddeg dyn o fysg y lluaws i'w ddylyn a bod o amgylch ei berson, ac yn benaf i fod o dan addysg hyd nes y byddai yn gadael y ddaear. Dywedir ddarfod iddo y pryd hwn eu hordeinio yn Apostolion, fel y byddai iddynt fyned allan i bregethu yr efengyl.

Pa wedd yr ordeiniodd hwynt, pa un ai trwy yn syml eu galw wrth eu henwau i'r swydd heb un ffurf na seremoni, neu a ddododd efe ei ddwylaw arnynt gan adrodd gweddi y cysegriad, nid ydym yn gwybod.

Mae yn wirionedd, er ei fod bron yn hynod, fod llen yn cael ei thaflu dros y cysegriad hwn yn gystal a chysegriad yr esgobion a'r henuriaid cyntaf yn yr eglwys gan yr apostolion ar ol dydd y Pentecost. A oedd efe wrth ddewis ei ddynion yn cadw golwg ar gymwysderau naturiol i'r swydd uchel hon? Yr ydym yn gwybod rhy fach ond am ryw ddau neu dri o honynt i allu olrhain y cymwysderau hyn, er y gallem yn naturiol synied mai felly yr ydoedd. Ond am Judas Iscariot, pa fodd y cafodd hwn ddod i'r cylch? Mae yn bosibl ei fod yn ymwthio o hono ei hunan, neu fod eraill yn ei wasgu i sylw yr Iesu. Yr ydym yn darllen mewn man am y fath: "Arglwydd, mi a'th ganlynaf i ba le bynag yr elych;" yr hwn nid ydyw yr Iesu yn ei wrthod nac yn ei dderbyn, ond dweyd yr ymadrodd hynod hwnw wrtho, " Y mae gan y llwynogod ffauau, a chan adar y nefoedd nythod, ond gan Fab y dyn nid oes le i roddi ei ben i lawr;" a thybia rhai mai yr Iscariot oedd hwnw. Hefyd, dichon ei fod yn ddyn ag oedd yn cael ei ystyried yn alluog a dylanwadol, a'i gydnabod yn meddwl yn uchel am dano, ac yn cael ei ddewis a'i dderbyn gyda llawenydd gan y dysgyblion eraill i'r cylch, ac y buasai ei wrthodiad gan yr Iesu yn eu gofidio, ac hefyd yn ymddangos yn weithred o arglwyddiaeth heb achos am dani, yr hyn ni ddewisai ddangos ar y pryd. Mae yn bosibl y gallasai ystyriaethau fel hyn i ryw radd fechan roddi cyfrif pa fodd y daeth Judas Iscariot i fod yn ddysgybl i'r Iesu; ond diau y teimla aml un ei fod yn hyfdra i roddi un awgrymiad o'r fath hyn; pa fodd bynag, cymaint a wyddom yn sicr ydyw, i'r Iesu ddewis deuddeg o

ddynion i fod yn ddysgyblion iddo, a bod un o'r deuddeg yn ddiafol.

Wedi cwblhau y gwaith o ordeinio y deuddeg, mae efe yn disgyn i'r gwastad-dir, a'r torfeydd wedi cael allan y man lle yr ydoedd, yn dwyn eu cleifion ato, ac wedi iachau yr oll o honynt, y mae efe drachefn yn myned i fyny i ael y bryn, ac yn eistedd, a'i ddysgyblion o'i amgylch, a thorf fawr, gallem feddwl, yn sefyll neu yn eistedd islaw iddo. O dan yr amgylchiadau hyn y mae y bregeth ar y mynydd yn cael ei thraddodi. Hwyrach mai hon ydoedd y gyntaf o'r fath a glywodd Matthew, ac mai hyny a dueddodd ei feddwl i roddi cofnodau mor llawn o honi. Nid oes genym sail i feddwl mai hon oedd y bregeth drefnus gyntaf a draddododd yr Iesu, eithr gallai fod llawer eraill meithach neu fyrach wedi eu pregethu ganddo yn ystod ei deithiau yn Galilea, ond hon yn unig a welodd yr Ysbryd Glan yn dda ei chadw at wasanaeth yr oesoedd. Y mae cyfnewidiadau eglur yn ngwedd ei addysgiadau yn ddylynol i hyn; yr oedd hefyd wahaniaeth yn ei addysgiadau yn Jerusalem i'r hyn oeddynt yn Galilea, yn cyfateb i ansawdd meddyliau a gwybodaeth y gwrandawyr. Yma yn Galilea wledig yr oedd y gwrandawyr yn gymysg o bob graddau o ddynion o'r gwahanol wledydd. Yma, ar y mynydd, yr oedd ei ddysgyblion yn nesaf ato, ac atynt hwy yn flaenaf yr oedd yn cyfeirio ei ymadroddion; ond bwriadai iddynt gyraedd clustiau a chalonau y miloedd oedd o'r tu allan iddynt hwy. Yn awr, os oedd rhyw syniad wedi ei daenu, ac wedi gwreiddio yn fwy yn mynwesau y dorf, y dymuniad am waredigaeth cenedlaethol trwy y Messiah a ddysgwylient, a dynesiad y deyrnas

newydd—teyrnas Dduw—ydoedd hwnw. A'u drychfeddwl uwchaf am y deyrnas hon ydoedd breniniaeth Iuddewig rydd a hollol annibynol; a phan y deuai y byddai rhyddid, heddwch, anrhydedd, a buddugoliaeth, yn nghyd a phob bendith dymorol i Judea dlawd, orthrymedig. Ond y mae yr Arglwydd Iesu, er gyda llaw hynod dyner, megys yn gosod y fwyell ar wreiddyn y pren hwn. Beth a allai wrthweithio mor uniongyrchol a grymus y fath syniad ag oedd ar y pryd yn chwyddo mynwesau y dorf o'i amgylch na geiriau cyntaf y bregeth, "Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd, canys eiddynt yw teyrnas nefoedd. Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru, canys hwy a ddyddenir. Gwyn eu byd y rhai addfwyn, canys hwy a etifeddant y ddaear," &c. Mor wahanol oedd y gwynfydau a ddesgrifia efe i'r hyn oedd ei wrandawyr yn sychedu am danynt. Mae ei ymadroddion yr un mor gymwys hyd heddyw ag oeddynt i'w wrandawyr ef ar ael y mynydd yn Galilea; ac yn wir, y mae y gwrandawyr yr un mor debyg ag y mae yn bosibl iddynt fod i'r gwrandawyr y diwrnod hwnw.

## PENNOD XII.

*Yr ail Basc—Bethesda—Yr Iesu yn dychwelyd i Galilea—Y dysgyblion yn tynu tywys ar y Sabboth—Y dyn a'r llaw wedi gwywo—Adgyfodi mab y weddw o Nain—Dysgyblion Ioan yn dod at yr Iesu.*

Yr ydym wedi dylyn yr Arglwydd Iesu am ysbaid blwyddyn, a chymaint dros ben hyny ag oedd o ddechreuad ei weinidogaeth hyd y Pasc cyntaf. Yr oedd y son am dano a'i wyrthiau rhyfeddol, yr awdurdod gyda pha un y traddodai ei athrawiaeth, prydferthwch digyffelyb yr athrawiaeth ei hun, yn nghyd a'r dirgelwch oedd yn daenedig dros ei holl symudiadau yn cynhyrfu yr holl wlad trwyddi draw. Bellach, cawn ei ddylyn ef i wyl y Pasc, sef fel y bernir bron yn unfryd gan y beirniaid mwyaf craffus, yr ail Basc ar ol dechreu ei weinidogaeth gyhoeddus. Y mae efe yn myned ar hyd llwybr glan yr Iorddonen eto, dybygem; ac yn fuan wedi dod i'r ddinas, mae yn myned heibio i lyn hynod oedd ynddi, sef llyn Bethesda (Ty Trugaredd), i'r hwn yr oedd pump o byrth wedi eu hadeiladu er cysgod a chysur y lluaws cleifion a gwywedigion a ymgasglent yno i ddysgwyl am gynhyrfiad y dwfr, canys angel ar amserau a ddeuai i gynhyrfu y dwfr, a'r hwn a elai iddo yn gyntaf ar ol ei gynhyrfu a elai yn iach o ba glefyd bynag a fyddai arno. Dim ond un o'r holl nifer oedd a'u llygaid ar y dwfr, yn gruddfan ac yn dysgwyl am iachad. Mae yn wir fod nifer mawr o'r beirniaid goreu yn credu mai ychwanegiad at y testyn gwreiddiol ydyw y bedwaredd adnod—" Canys angel oedd ar amserau yn

disgyn i'r llyn, ac yn cynhyrfu y dwfr; yna yr hwn a elai i mewn yn gyntaf ar ol cynhyrfu y dwfr a äi yn iach o ba glefyd bynag a fyddai arno"—iddi, efallai, gael ei gosod fel nodyn ar ymyl y ddalen, ac yn raddol lithro i mewn i'r testyn. Barn yr esbonwyr a nodwyd ydyw fod cysylltiad rhwng y llyn a ffrwd tanddaearol oedd yn llanw ac yn traio, ac wrth lanw yn ewynu ac yn ymgynhyrfu, ac ar y pryd hwnw yn meddu rhinwedd meddygol cryf, yr hyn a gyfrifai yr Iuddewon yn wyrth; ond nid ydyw yr amheuaeth hwn o'r adnod yn cyffwrdd mewn un modd â gwyrth ryfeddol yr Arglwydd Iesu. Yn mysg y lluaws trueiniaid oedd o gylch y dwfr, yr oedd yno un hen wr a fuasai yn glaf am ddeunaw-mlynedd-ar-hugain, nid wrth y llyn bob amser, mae'n debyg, eto gallwn feddwl wrth swn ei eiriau ef ei hun iddo fod yno amser maith. Ymddengys ei fod yn fethiantus iawn gan ei glefyd, fel yr oedd trwy yr holl amser wedi colli pob rhedegfa i'r dwfr am iachad; gallwn dybied hefyd fod ei boenau corfforol yn cael eu teimlo yn fwy gan gyhuddiadau cydwybod, mai ei bechodau ef ei hun yn moreu ei oes oedd wedi dwyn y trallodion hyn arno ei hun. Eto, mor werthfawr oedd iechyd yn ei olwg fel y glynai yno, er nad oedd ond gobaith gwan, yn wir, iddo byth allu cyraedd ei amcan. Mae yr Iesu yn myned heibio y lle ar y Sabboth, yn edrych ar y cwmni prudd oedd o gylch y llyn, ac o'r môr dwfn dihysbydd o drugaredd oedd yn ei galon, y mae yn pigo allan y truenusaf ddyn o'r holl luaws i'w ymgeleddu â'i law dyner ei hun. Mae y gofyniad i'r dyn claf yn swnio braidd yn ddyeithr: "A fyni di dy wneuthur yn iach?" canys pa ddyn afiach na fynai ei wneyd yn

iach.; ac hefyd yr oedd ei bresenoldeb wrth y llyn yn dangos ei fod yn bryderus am iechyd. Ond yr oedd i'r gofyniad ei amcan, a hwnw yn dra phriodol. Yr oedd yr hen wr tlawd, truenus, afiach, wedi dysgwyl cyhyd a hyny yn ofer, fel yr oedd gobaith bron wedi diffodd yn ei fynwes, dybygem, a'i galon wedi gwywo o'i fewn gan ei hirfaith boenau, yn nghyd a chanfod difaterwch a dideimladrwydd ei gyd-ddynion tuag ato; y canoedd yn myned ac yn dyfod heibio yn brysur heb neb âg un gair o gysur iddo ef na sylw o hono. Yr oedd yn ddyoddefydd mawr, o herwydd ei fod yn bechadur mawr, yn ol y syniad cyffredin am y fath, ac felly islaw eu sylw. Eithr wele wr ieuanc dyeithr, a golwg hawddgar a thirion ryfeddol arno, yn gwneyd sylw o hono, ac yn ymddangos fel pe buasai yn teimlo o ddyfnder ei enaid drosto, ac y buasai yn dda ganddo allu ei helpu, os oedd yn bosibl. Wedi denu sylw y claf fel hyn, a thynu ei feddwl i gredu ei fod yn teimlo ar ei ran, dirgel weithredai yr Iesu da y ffydd hono ynddo ef ei hun ag yr oedd yn y man yn myned i'w gofyn oddiwrtho. Ni roddodd y claf ateb uniongyrchol i'r gofyniad, ond ceisiodd roddi rheswm paham yr oedd efe heb dderbyn iechyd. "A fyni di dy wneuthur yn iach?" meddai yr Iesu. A thybiwn ei glywed yntau yn dweyd, O, anwyl syr! mynaf, ond nid oes genyf neb i'm bwrw i'r llyn pan gynhyrfir y dwfr. Nid oedd ganddo gâr na chyfaill yn y byd i roddi cymaint a help llaw iddo yn ei bryder a'i gyfyngder mawr. Yr oedd hefyd mor wan a musgrell, mae'n amlwg, fel pan y byddai ef yn ceisio ymsymud tua'r dwfr, y byddai rhywun bob tro yn disgyn yno o'i flaen. Ond dyma

yr awr wedi dod, ac yr oedd hirfaith flynyddau o ddysgwyliad a siomiant i derfynu mewn iechyd llawn a pherffaith. "Yr Iesu a ddywedodd wrtho, cyfod, cymer dy wely i fyny a dos i'th dy." Credodd y dyn, ac yr oedd gallu yn cydfyned a'r gair fel y neidiodd ar ei draed mewn moment, gan gipio ei wely i fyny a rhodio. "A'r Sabboth oedd y diwrnod hwnw."

Cawn ddarfod i'r Iuddewon (nid lluaws y bobl a feddylir yn ddiau, ond y penaethiaid, yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid, am y rhai yr arfera Ioan y gair "Iuddewon" bron yn ddieithriad), ei alw i gyfrif a'i feio am gario ei faich ar y Sabboth. Yr oedd ganddynt reswm da dros hyn, gan fod Moses wedi gwahardd cario beichiau ar y Sabboth. A pha beth a feddyliai trigolion defosiynol trefydd ein gwlad wrth weled dyn a baich o hen fatiau pwdr ar ei gefn yn cerdded trwy yr heolydd ar y Sabboth? Edrychent, yn ddiau, gyda chilwg digon Phariseaidd arno, ac nid heb achos ychwaith. Eithr wedi derbyn ateb y dyn, dylasent foddloni yn y man, oblegid nid oedd dwyn y gwely gan y dyn hwn yn waith, ond yn hytrach arddangosiad a phrawf i'r lluaws ei fod ef mewn gwirionedd wedi derbyn iachad. Rhaid i ni synied fod y wyrth yn hysbys i ganoedd, os nad miloedd, mewn ychydig fynydau. Heblaw hyny, yr oedd Arglwydd Dduw y Sabaoth, a'r Sabboth hefyd, y gwr a'i trefnodd ar y cyntaf er cysur dyn, wedi gorchymyn i'r gwr hwn wneyd fel y gwnaeth, a buasai iddo beidio yn anniolchgarwch, yn anufudd-dod, ac yn bechod. A phe buasai i'r dynion *sanctaidd* hyn ond ymholi i'r achos, fel y dylasent wneyd, cawsent wybod hyny. Llithrodd yr Iesu ei hun yn ddystaw ac ar unwaith o'r lle,

ac nid oedd y dyn wedi deall eto pwy ydoedd, er mae'n wir fod yn anhawdd synied nad oedd yn yr ysbyty pruddaidd o dan y pum' porth lawer o son a siarad am yr Iesu o Nazareth a'i weithredoedd nerthol, eto rhaid i ni ystyried nad oedd yno un yn credu ynddo. Pe buasai yno gymaint ag un tlawd claf arall ag oedd wedi clywed am yr Iesu, a chanddo ffydd fel gronyn o had mwstard, a hono yn estyn ei llaw tuag ato, nis gallasai yr Iesu da byth fyned heibio heb ei helpu.

Yr oedd yr Iuddewon hyn, mae yn amlwg, yn dyfalu yn lled gywir pwy oedd y meddyg, ac efe bellach ydoedd y troseddwr mwyaf o'r ddau. Daw eu dygasedd at yr Arglwydd Iesu i'r golwg, yn ffurf y gofyniad, sef, Pwy a orchymynodd i ti godi dy wely? ac nid pwy ydyw yr hwn a'th wnaeth di yn iach? Ceisient ddileu pob argraff dda a allasai y weithred o drugaredd fod wedi ei wneyd ar feddwl a chalon y dyn. Awgryment nad oedd y dyn hwnw oedd wedi gorchymyn iddo dori y Sabboth yn un o'r dynion goreu. Eithr yr oedd ateb syml y dyn: "Yr hwn a'm gwnaeth i yn iach a barodd i mi godi fy ngwely a rhodio," yn rhy gadarn iddynt allu ei droi heibio, cystal a dywedyd, Os nad oedd ganddo awdurdod i beri i mi godi fy ngwely, o ba le, atolwg, y daeth ei allu i gyflawni y fath weithred a'm gwneyd i yn iach? Wedi methu gwneyd dim o'r dyn, maent yn troi cenllif eu cynddaredd yn erbyn yr Iesu am ei iachau, am wneyd yr hyn oedd dda ar y Sabboth, a mynasent ei ladd yn y man. Ac mae ateb yr Iesu iddynt, "Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn, ac yr wyf finau yn gweithio," yn honiad eglur o ddwyfoldeb ei natur, a deallai yr Iuddewon ef felly, a chan hyny ceisient yn

fwy ei ladd ef am iddo wneyd ei hun yn gystal a Duw. Yr oedd y wyrth ryfeddol ar y claf, ac ymresymiad yr Iesu wrthynt, pe buasent ond sefyll i ystyried, yn ddigonol i foddloni eu meddyliau ei fod yn gystal a Duw; a'r rheswm a roddai am eu bod yn ei gablu yn lle credu ynddo ydoedd eu bydolrwydd, a'u hawydd i dderbyn gogoniant gan eu gilydd. Beth a allwn synied am ddylanwad y wyrth ar galon y dyn a wnaethpwyd yn iach? Nid rhyw oleuni clir a deifl yr Efengylwr arno, eto tueddir meddwl y darllenydd i synied y goreu am dano, oblegid cawn ef yn ebrwydd yn y deml, gyda'r amcan, mae yn naturiol meddwl, o dalu diolch am y waredigaeth fawr a dderbyniodd.

Yno y cyfarfu yr Iesu ef gyntaf ar ol ei wella, pryd y cymerodd gyfle i roddi cyngor difrifol iddo. Rhoddai ar ddeall i'r dyn fod ei holl fywyd blaenorol yn hysbys iddo ef, hyd yn nod y pechod ydoedd wedi ei gyflawni ddeunaw-mlynedd-ar-hugain yn ol, yn mhell cyn iddo ef ei hun gael ei eni i'r byd. "Wele, ti a wnaethpwyd yn iach; na phecha mwyach, rhag dygwydd i ti beth a fyddo gwaeth," meddai wrtho; gwaeth na'r deunaw-mlynedd-ar-hugain o afiechyd a phoen didor. Yr oedd afiechyd wedi ymaflyd ynddo yn mlodau ei ddyddiau, ac wedi dal ei afaelion ynddo hyd henaint; eto yr oedd peth gwaeth na hyn yn ei aros os pechai mwyach. Ni wyddom beth oedd pechod neillduol y dyn hwn, eithr yr oedd efe ei hunan yn gwybod, ac mae yn eglur fod yr Iesu yn cysylltu pechod ei ieuenctyd â'i boenau corfforol; er nad arfer Duw ydyw gwneyd barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan, eto rhaid i ni gydnabod fod pechod yn blaenllymu y saethau sydd yn dwyn dynion i lawr. Deall-

odd y dyn yn awr mai yr Iesu oedd yr hwn a'i gwnaethai ef yn iach, ac aeth i fynegu i'r Iuddewon. Nis gallwn feddwl mai i ychwanegu eu llid yn ei erbyn y gwnaeth hyn; nid yn y cyfeiriad hwn mae yr hanes yn naturiol yn ein harwain, ac ni feiddiwn roddi peth mor atgas yn erbyn y dyn heb sail ddigonol. Yn hytrach, dybygem, teimla ei galon yn ymgynhyrfu gan ddiolchgarwch, a methai, fel y gwahanglwyfus hwnw, beidio cyhoeddi yr hyn a wnaethpwyd iddo wrth benaethiaid ei bobl. Yn symlrwydd ei galon dysgwyliai i'w dystiolaeth ef am y weithred rasol, ryfeddol hon, gau eu geneuau byth rhag ei gablu. Pe buasai yn wahanol i hyn, medd un awdwr, buasai yn sicr o ddyweyd mai yr Iesu a barodd iddo godi ei wely, yn hytrach na dywedyd mai yr Iesu a'i gwnaethai ef yn iach.

Anhawdd genym adael yr hanes dymunol hwn, a goddefer i di droi yn ol am fynyd i loffa rhai o'r twysenau teg sydd yn daenedig ar hyd ei wyneb. Ar yr un pryd rhaid cydnabod fod cwmwl tew o ddirgelwch yn daenedig dros lyn Bethesda a'i byrth. Mae gan bob ysgrifenydd bron, dysgedig ac annysgedig hefyd, fel fy hunan, rywbeth i'w ddywedyd yn ei gylch wrth fyned heibio. Cawn Doddridge dduwiol, ddysgedig, yn sicrhau mai rhinwedd naturiol yn y dyfroedd oedd yn peri iechyd, gan olygu mai dyfroedd mwnawl oeddynt, ac fod eu rhinwedd yn cryfhau wrth eu cynhyrfu. Rhywbeth yn debyg hefyd sydd gan Barnes i'w ddyweyd am danynt. Dywed eraill fod y dyfroedd y golchid yr ebyrth ynddynt yn nghyntedd y deml yn cael eu cario trwy bibellau i lyn Bethesda, ac yn achosi rhinwedd meddygol ynddynt; pryd yr etyb rhai eilwaith, fod rhinwedd goruwch-naturiol yn cael ei

roddi iddynt am eu bod yn gysylltiedig fel hyn â'r aberthau dros y genedl. Ond dengys gwedd yr hanes fod gwyrth yn cael ei chyflawni, fod bys Duw yn dod i'r golwg; ac nid oes un ddyfais arall i geisio egluro yr hanes hynod hwn a rydd foddlonrwydd i feddwl wedi ei lenwi â pharch i air Duw. Beth all fod yn atal dynion i gydnabod yn rhwydd mai trugaredd ydoedd yn cael ei dangos gan Dduw i'r genedl, ac yn ernes o drugaredd lawer mwy oedd i gael ei hamlygu yn fuan? Nid ernes annheilwng o Dduw ydoedd ychwaith. Yr oedd yn cymeryd lle dro ar ol tro, ac efallai yn fynych, fel, er mai un ar y tro oedd yn derbyn iechyd, y cyrhaeddai luaws o bersonau mewn yspaid o amser, a'r rhai hyny o'r anhwylderau mwyaf poenus ac anobeithiol. Yr oedd yn drugaredd werthfawr i breswylwyr y ddinas boblog. Er na welid yr angel yn cyflawni y weithred, canfyddid ei effeithiau yn y man, ac yn eglur. Tybia McKnight ei fod yn debyg mai nid hir iawn cyn ymddangosiad yr Arglwydd Iesu ar y ddaear y dechreuodd y wyrth, a'i bod wedi ei hatal ar ei farwolaeth, a'i bod yn arwyddocâd fod y dyfroedd a welodd Ezeciel yn ei weledigaeth ysblenydd ar lifeirio allan o dan yr allor ar y groes i beri bywyd ac iechyd ysbrydol y ffordd y cerddent.

Paham, medd rhyw un, na iachawyd ond un o'r lluaws gan yr Iesu? Anturiwn dystio yn hyf, pe gallasai yr Arglwydd Iesu yn ol ei gynllun grasol wneyd hyny, y buasai yn dda gan ei galon dyner glirio pum' porth llyn Bethesda am unwaith o'r cleifion truenus. Nid o'i ochr ef na'r Tad ychwaith yr oedd yr anhawsder. Na atto Duw i ni synied felly am fo-

ment. Caledwch calonau y trueiniaid oedd yr achos nad allasai yr Iesu da achub dim ond hwn o'r holl luaws.

Yr oedd gelynion yr Arglwydd Iesu mor weithgar a diflino yn ei erlid, fel nad arosodd ond ychydig amser yn Jerusalem y tro hwn, a chawn iddo yn fuan ar ol yr wyl fyned i fyny i Galilea, "ei wlad ei hun." Pan ddeallodd y Phariseaid ei fod wedi gadael y ddinas, anfonasant yspiwyr ar ei ledol i'w wylio yn ddyfal, yn enwedig ar y Sabbothau, fel y gallent, os oedd yn bosibl, gael rhywbeth yn ei erbyn i ladd ei ddylanwad ar y bobl oedd yn myned yn lluoedd ar ei ol. Ac nid hir y buont cyn cael achos newydd yn ei erbyn, fod ei ddysgyblion yn tori y Sabboth. Adroddir yr hanes gan y tri efengylwr cyntaf, a defnyddia Luc ymadrodd sydd wedi achosi llawer o benbleth i gysonwyr ac esbonwyr. "A bu ar yr ail brif Sabboth," ydyw y geiriau. "The second Sabbath after the first," medd y cyfieithiad Saesoneg; ond cydnebydd y Sais, pe cyfieithid y geiriau yn llythyrenol, mai fel yr eiddom ni, "*Second prime*," y byddai, sill am sill. Nid oes, meddant, un ymadrodd cyffelyb i'w gael yn un man arall. Dywed yr Almaenwr Scaliger fel hyn am y lle: "Cyfrifid ail ddydd y Pasc yn orsanctaidd, neu yn arbenig o sanctaidd, ar yr hwn y cyflwynid ysgub y blaenffrwyth (Luc 23: 11), ac o'r dydd hwn y cyfrifid saith wythnos, neu saith Sabboth hyd y Pentecost, a gelwid y Sabboth cyntaf ar ol y dydd hwn yn brif Sabboth, a'r nesaf yn ail brif Sabboth, ac felly yn mlaen hyd y seithfed."

Yn rhywle ar y daith hon, o Jerusalem i Galilea, elai y dysgyblion hyd llwybr troed trwy faes o ŷd ar

y dydd cysegredig hwn. Gan y teimlent eisiau bwyd, yr hyn a enynid yn fwy gan yr olwg ar y twysenau dymunol oedd o'u hamgylch, dechreuasant dynu rhai o honynt, gan eu rhwbio â'u dwylaw a bwyta y grawn. Yr oedd hyn yn ddigon o achos i godi cri yn erbyn yr Iesu, nid am gymeryd o eiddo gwr arall, oblegid yr oedd hyny yn oddefol yn y gyfraith, (Deut. 23:25), ond iddynt beidio defnyddio y cryman. Rhwbio y twysau a'u chwythu a'u hanadl, neu eu dyrnu a'u nithio ar y Sabboth sanctaidd oedd y drwg mawr. Cyfyd hyn gwr y llen er rhoddi cip-olwg i ni mai bywoliaeth digon caled oedd ar ddysgyblion yr Arglwydd Iesu yn aml. Darfu i'r Phariseaid faeddu y dysgyblion yn y ddadl yn ddigon rhwydd. Haerent yn ffroen-uchel eu bod yn meddu gwybodaeth uchel a manwl yn y gyfraith, a'r dysgyblion yn ddiddysg a llwfr i sefyll yn wynebau y gwyr mawr hyn. Yr oeddynt fel plant bychain yn dechreu codi eu penau i edrych am eu tad; edrychent o amgylch am eu meistr mawr yr hwn yr oedd ganddynt bob ymddiried ynddo, i ddod a hwy o bob man cyfyng. Yr oedd efe yn agos, a chymerodd yr achos yn ei law ei hun yn y man, gan roddi ysgytfa dda i'w elynion. Rhoddai ar ddeall iddynt ar unwaith ei fod yn deall eu holl amcanion, mai nid gwella ei ddysgyblion ef oedd mewn golwg ganddynt, na gofal ychwaith am ogoniant Duw na pharch i'w ddydd, oedd yn enyn ei sel, eithr cenfigen o dan orchudd, yn ceisio ei ddiraddio ef trwy ei ddysgyblion. Condemnient hwy y diniwed, oblegid iddynt dynu ychydig dwysenau, o wir eisiau bwyd ac nid o flys; yr oeddynt yn nghanol eu pryder a'u trafferth wedi anghofio, neu ynte heb fodd i barotoi ar gyf-

er eu hangen, ac yn dyoddef o eisiau tamaid o fara. Adgofiai yr Iesu i'w erlidwyr hanes Dafydd ag oedd mor uchel mewn bri ganddynt, fel y darfu iddo ef mewn amgylchiad cyfyng pan oedd eisiau bwyd arno, gymeryd o'r bara cysegredig, y bara gosod oedd o flaen yr Arglwydd yn y cysegr, neu o leiaf wedi bod ar y bwrdd, a'r hwn nid oedd gyfreithlawn i neb ond yr offeiriaid ei fwyta. (Ex. 29 : 33; Lef. 24 : 5-9.) Pan oedd bywyd mewn perygl gwneid i'r ddeddf seremoniol ildio. Mewn amgylchiad neillduol, er achub ei fywyd ei hun a'r rhai oedd gydag ef, y cymerodd Dafydd y bara gosod; ac ar yr egwyddor fawr hono, "Fod trugaredd yn well nag aberth," gwasgai yr Iesu yn fwy tyn drachefn ar y boneddigion hyn, trwy ddangos fod cadw y ddeddf seremoniol yn llythyrenol yn arwain i anghysondeb yn fynych; fod yr offeiriaid yn nheml Dduw yn gwneyd gwaith llawer mwy na rhwbio ychydig dwysenau yd a chwythu yr us o honynt, eto eu bod yn ddigerydd; ie, fod Duw ei hun yn foddlon iddynt. Pe gwybuasech beth ydyw hyn, "Trugaredd yr wyf yn ei ewyllysio, ac nid aberth," ni fuasech yn erlyn y diniwed. Nid amcan yr Iesu oedd llacâu dim ar gyfraith y Sabboth, ond dyfod a'i gwir ystyr i'r golwg, sef ei bod wedi ei gosod ar y cyntaf o gariad at ddyn a gofal am ei gysur, i roddi iddo amser i orphwys ac addoli, ac nad oedd dyn wedi ei greu er mwyn cadw y Sabboth.

Wedi clirio ei ddysgyblion ar dir hollol deg oddiwrth y cyhuddiad maleisus, neu yn hytrach clirio ei hun yn ei ddysgyblion, dystawodd y ddadl, ac aeth yr Iesu a'i ddysgyblion yn mlaen ar eu taith. Daethant i le yr oedd ynddo synagog. Mae yn anhawdd gwybod pa

dref neu ddinas ydoedd; gallai ei fod yn awr wedi cyraedd mor belled a Capernaum, ond ni ddywedir hyny gan yr Efengylwyr. Aeth yr Iesu ar y Sabboth i mewn i'r synagog, ac yr oedd gwr wedi dod i'r addoliad a'i law wedi gwywo, ei holl fraich gellid meddwl yn crogi yn farw, a diwerth wrth ei ochr. Ei law ddeheu ydoedd hefyd â'r hon yn benaf yr arferai enill ei damaid bara. Golygfa digon gresynol ydoedd. Daethai y truan tlawd yno mae'n debyg i ddysgwyl wrth yr Iesu am iachad. Yr oedd hyn yn ddealladwy i'r gynulleidfa, oddiwrth agwedd ddysgwylgar y dyn, a chanfyddai y meddyg mawr weithrediadau dirgel ei galon, ei obaith, a'i ymddiried yn ei allu gwyrthiol ef. Dywed Marc, yr hwn sydd yn rhoddi mwy o fanylion amgylchiadau o'r fath na'r lleill, i'r Iesu ei alw ef i'r canol. Yna gofynodd y Phariseaid i'r Iesu, gan gadw llygad ar y dyn, "A'i rhydd iachau ar y Sabboth?" Atebodd yr Iesu eu gofyniad trwy ofyn un arall, sef, "A'i rhydd gwneuthur da ar y Sabboth, neu wneuthur drwg, cadw einioes neu golli?" Yna mae y Duw-ddyn yn ei anfeidrol ddoethineb yn codi y ddadl i lys uwch, i oleuni mwy clir, fel y gellid canfod ar unwaith ar ba ochr y gorweddai trugaredd a gwirionedd. Yr oedd yn gyfreithlawn i berchenog y ddafad ei chodi o'r pwll ar y Sabboth; pa faint mwy rhoddi iechyd i ddyn ar y Sabboth? Ac wedi edrych arnynt o amgylch yn ddigllawn o herwydd eu calon-galedwch, gorchymynodd i'r dyn estyn allan ei law, a chyda'r gair llifeiriodd bywyd ac iechyd i'r aelod gwywedig nes ei gwneyd fel y llall. Dylasai hyn beri llawenydd a hyfrydwch calon i bob dyn oedd yn y lle. Yr oedd felly i bob meddwl ydoedd mewn agwedd

deilwng. Dyma yr unig dro, am a wyddom, y dangosodd yr Iesu addfwyn ddigllonedd; ac yr oedd y tro hwn yn ddiau yn cael ei leddfu â thristwch wrth weled sefyllfa anystyriol ei elynion.

Yn fuan ar ol hyn, cawn yr Iesu ar ei hoff rodfeydd ar lan môr Galilea, a'r bobl yn ymdyru wrth y miloedd o'r holl wledydd cylchynol i'w weled a'i wrando, gan ddwyn eu cleifion gyda hwy am iachad. Ac er yr höll ymwthio ac ymwasgu yn mlaen, rhoddodd gyfle teg i bob un gael ei neges. Y mae tyniad y claf o dan bwys ei ofidiau yn naturiol at y meddyg, ac ni bu ar y ddaear erioed efallai gynifer o gleifion yn yr un man, ac nid rhyfedd, oblegid ni bu erioed y fath feddyg mewn un lle. Nid oedd eisiau ond cyffwrdd ag ef, gan ymddiried ynddo, na byddai iechyd perffaith yn dylifo ar unwaith i gyfansoddiad y claf.

Wedi i'r Arglwydd Iesu fyned i mewn i ddinas Capernaum, anfonodd canwriad Rhufeinig, sef capten ar gant o filwyr, gais ato am iechyd i'w was. Yr oedd bod yn flaenor, hyd yn nod ar y nifer fechan hon o filwyr yr ymerodraeth fawr, yn swydd o gyfrifoldeb a pharch, yn gyffelyb fel y mae yn y fyddin Brydeinig yn awr. Dywed Matthew i'r canwriad ddod at yr Iesu, ond dywed Luc iddo anfon henuriaid yr Iuddewon ato. Priodola Matthew i'r gwr ei hun yr hyn a wnai trwy offerynoliaeth eraill, ac mae gweithiau holl haneswyr y byd yn llawn o esiamplau o'r dull yma o adrodd hanes. Er fod y canwriad yn bagan o enedigaeth, yr oedd wedi teimlo yn ddwys wagder y grefydd Baganaidd, ac wedi troi ei gefn arni gan ymlynu wrth gynulleidfa Israel ac addoliad y gwir Dduw. Yr oedd yn un o'r lluaws a wahenid

oddiwrth hâd Abraham, eto yn addoli Duw Abraham; a theimlai fod canolfur gwahaniaeth rhyngddo ef fel cenedl-ddyn a'r hâd santaidd, ac felly ni theimlai ei hun yn deilwng i ddyfod yn bersonol at yr Arglwydd Iesu. Eglur yw ei fod megys rhwng tywyll a goleu, yn canfod yno ryw un mwy na dyn, a thrwy gyfryngiad yr Iuddewon dymunai ar yr Iesu ddyfod a iachau ei was ag oedd, mae yn amlwg, yn anwyl iawn ganddo. Yr oedd y llanc mewn poen dirfawr gan y parlys, ac yn mron marw; ymadrodd cryf iawn. Wedi anfon y genhadaeth at yr Iesu, yn ei ostyngeiddrwydd a'i onestrwydd didwyll ofnai ddarfod iddo wrth wneyd felly arfer gormod o hyfder, ofyn i'r fath berson i ddyfod i'w dy. Dengys holl fân linellau cymeriad y gwr hwn, fel y deuant i'r golwg yn yr hanes sanctaidd, ef fel un yn ofni yr Arglwydd yn fawr. Heblaw y prif ras o ffydd, yn nghyd a gostyngeiddrwydd dwfn, ceir yn ei barch i Dduw Israel, ei waith yn adeiladu ty i addoli yr Arglwydd, ei ofal tadol a'i bryder dros ei gaethwas tlawd, sicrwydd hyfryd i'r meddwl ei fod yn un o blant Duw oeddynt ar wasgar ag y daethai y Duw-ddyn i'r byd i'w casglu yn nghyd.

Mabwysiadodd y gwr da hwn ddull hynod i egluro ei hun wrth yr Iesu. "Dyn wyf finau," meddai, "o dan awdurdod, a chenyf filwyr danaf, ac meddaf wrth un dos, ac efe a ä, ac wrth arall tyred, ac efe a ddaw, ac wrth fy ngwas gwna hyn, ac efe a'i gwna." Fel pe dywedasai, dyn wyf finau yn dal swydd israddol o dan swyddogion uwch eu gradd a'u hawdurdod, eto y mae y rhai sydd danaf fi yn ufuddhau i mi, ac y mae fy ngair yn ddigon i'w cychwyn yma ac acw yn y man, fel y gallaf fi fy hunan eistedd i lawr a chael fy

ngorchwylion wedi eu cyflawni. Pa faint mwy tydi, yr hwn nid wyt fel fi yn israddol i neb, ond yn dywysog ar luoedd y nef, yn meddu yr angylion yn genhadon cyflym, parod at dy archiad, ac yn awyddus i gyflawni dy ewyllys. Ni raid i ti gan hyny gymeryd y drafferth i ddyfod i'm ty, dim ond rhoddi gair o'th enau i un o'th weinidogion i iachau y bachgen, fy ngwas. Mae drychfeddwl y dyn hwn am lywodraeth yr Iesu yn wreiddiol ac ardderchog, ac yn gwbl naturiol iddo ef fel swyddog milwraidd. Ymddengys yr Arglwydd Iesu iddo ef fel Cæsar yn ymerawdwr, yr uwchaf, nid yn unig ar y ddaear ond yn y nef hefyd. "Pan glybu yr Iesu, efe a ryfeddodd," medd un o'r Efengylwyr. Mae cryn anhawsder i ddeall yr ymadrodd hwn, o herwydd fod y teimlad o ryfeddu yn tarddu bob amser oddiar gyfarfod a rhywbeth annysgwyliadwy ag oedd o'r blaen yn anhysbys. Pa fodd y gallasai yr Iesu, ag oedd yn gwybod pob peth, ryfeddu fel hyn; a phaham y rhyfeddai at ffydd ag yr oedd efe ei hunan trwy ei Ysbryd newydd ei phlanu yn enaid y canwriad? Tebygol mai nid rhyfeddu yn ol ystyr gyffredin y gair, ond cymeradwyo a feddylir. Yr oedd fel dyn yn anhysbys o lawer o bethau o'r fath, medd rhai, ond y mae hwn yn llwybr peryglus i'w droedio ac yn ymylu ar y tir Nestoraidd o ranu person y Messiah. Yn hytrach, dybygem, fod yma syniad dwfn yn y gair, pe gallem ei ganfod. Dywedodd yr Iesu wrth y canwriad, "Dos ymaith, yn ol dy ffydd bydded i ti."

Dranoeth aeth yr Arglwydd Iesu tua Nain, hen ddinas yn Galilea, nid anenwog y pryd hwnw, eithr yn awr yn bentref distadl. Rhaid ei fod wedi cerdded tuag ugain milltir, oblegid yr oedd y ddinas gymaint a

hyny i'r de-orllewin o Capernaum. Fel yr oedd yn agosâu at Nain, dygid corff marw mab i wraig weddw allan, a bagad o bobl y ddinas gydag ef yn gwneyd eu ffordd yn araf tua'r gladdfa. Ymddengys amgylchiad y weddw hon yn un o'r rhai mwyaf cyfyng a allwn feddwl am dano. Yr oedd wedi dylyn priod ei hieuenctyd eisoes i'r bedd, ac yn awr dyma ei hanwyl unig fab, ei hoff obaith am gysur a chynaliaeth yn mhrydnawn-ddydd ei hoes wedi ei dori i lawr yn ei ieuenctyd, ac yn cael ei gario ar ol ei dad tua thir anghof. Y mae darlun Luc o'r olygfa alarus yn effeithiol iawn. Yr oedd lluaws o bobl yn yr arwyl, a llawer o wylo ac oernadu dideimlad, yn ol arfer y dwyreinwyr o gladdu, eithr yr oedd yno un, y fam druan, yn wylo o fethu ymatal. Pan welodd yr Iesu hi, efe a ddywedodd, "Nac wyla." Nid allai efe edrych ar gymaint caledi heb gael ei gynhyrfu gan dosturi, ac estyn cymorth, ac â gair o'i enau adferodd y bachgen i'w fam alarus. Cludwyd y newydd am hyn eto yn gyflym ac yn mhell. Dymunol sylwi hefyd fod yr amgylchiad hynod yn cael dylanwad mor dda ar yr edrychwyr.

Mae yn debygol nad aeth efe yn mhellach i Galilea y waith hon, oblegid cawn ef yn ol yn ebrwydd yn Capernaum, pryd yr anfonodd Ioan Fedyddiwr, yr hwn oedd yn ngharchar gan Herod, ar ffin eithaf llwyth Reuben, tu hwnt i'r Môr Marw, fel y bernir, genhadaeth o'i ddysgyblion, y rhai a ymlynent wrtho er ei fod yn ngharchar, i ofyn i'r Iesu ai efe oedd yr un oedd ar ddyfod. Tybia llawer nad oedd yn bosibl fod un amheuaeth ar y mater yn meddwl Ioan ei hun, ac mai er mwyn ei ddysgyblion yn unig yr oedd yn eu hanfon. Ond wrth edrych yn ystyriol dros yr hanes, yr ydym

yn tueddu i farnu fod Ioan ei hun yn dechreu anesmwytho, a'i feddwl, hwyrach, yn dechreu siglo yn yr achos. Yr oedd efe bellach wedi bod flwyddyn gron yn y carchar, wedi ei gau i fyny gyda ei feddyliau ei hunan, a thebygol iawn ei fod yn cael ambell bangfa o amheuaeth boenus. Pregethai yn egniol fod teyrnas Dduw yn ymyl er ys dwy flynedd bellach, ond ymddangosai nad oedd yn llawer nes ato. Nid oedd gan yr Iesu ond deuddeg o ganlynwyr wedi ymlynu wrtho, a'r rhai hyny yn dlodion, i wneyd i fyny ei lys. Ai nid oedd yn bosibl, wedi y cwbl, mai rhagflaenydd oedd yr Iesu hefyd, i'r Brenin mawr oedd ar ymddangos, ac nid y Brenin ei hun? Yn sicr, ni feddyliai am foment fod yr Iesu yn dwyllwr, eithr ofnai ei fod ef ei hunan wedi cam-ddeall pethau; a meddyliwn mai i'r agwedd yma ar feddwl Ioan y mae ateb yr Iesu yn taraw yn gymwys. Y gweithredoedd a welodd dysgyblion Ioan oeddynt i fod yn dystiolaeth sicr fod teyrnas nefoedd yn nesâu, a rhoddai hyn, mae yn ddiddadl, lwyr foddlonrwydd i'w feddwl, gan ei sefydlu yn gadarn yn y ffydd, a symud ei amheuon poenus. Wedi i ddysgyblion Ioan droi eu cefnau, cymerodd yr Iesu achlysur oddiwrth eu hymweliad i ddwyn tystiolaeth i nodweddiad y Bedyddiwr, pa fath ddyn ydoedd, ac ail sefydlu ei gymeriad yn ngolwg pawb. Wrth edrych o'i amgylch a chanfod anystyriaeth a chaledwch calon ei wrandawyr, ac yn arbenig y radd uchaf o honynt, mae yn eu ceryddu yn llym. Cyffelybai hwynt i blant yn y farchnadfa, sef hoff gyrchfan plant bob amser, yn llefain wrth eu cymdeithion plentynaidd, "Canasom bibell i chwi, ond ni ddawnsiasoch; canasom alarnad i chwi, ac ni chwynfanasoch." Yr oeddynt fel

rhyw fechgyn anniddig, cas, nad oedd na chân na chwynfan yn eu boddio; pob math o chwareu yn *rhy* rywbeth ganddynt, tra yr oedd y plant eraill o'u cylch yn llon-fwynhau eu hunain wrth chwareu. Felly yr Iuddewon maleisus hyn; beient Ioan, ei fod yn rhy lym, yn rhy ddigyfeillach, yn ormod o feudwy ganddynt; mae y cythraul ynddo meddynt. Ond pan ddaeth yr Iesu, yn bwyta ac yn yfed fel dyn arall bob peth a osodid ar y bwrdd, yn myned i mewn ac allan i'w tai ac i'w dinasoedd, yn gyfeillgar, yn siriol, yn cyd-ddwyn â phawb, yn gymwynasgar a thirion wrth bawb; O! yr oedd hwn "yn ddyn glwth, yn yfwr gwin, yn gyfaill publicanod a phechaduriaid." Nid oedd dim a'u boddiai. Ond doethineb a gyfiawnhawyd gan ei phlant ei hun ; yr oedd yno rai er hyny yn derbyn, yn gwerthfawrogi, ac yn cyfiawnhau y gwirionedd.

Dyma yr adeg, dybygem, y cyhoeddodd y gwaeau uwchben dinasoedd celyd glan mor Galilea, y rhai oeddynt wedi mwynhau ei weinidogaeth, a gweled ei weithredoedd mawrion, a derbyn lles oddiwrthynt, eto yn parhau yn anedifeiriol. Rhybuddiai hwynt yn ddifrifol y byddai yn esmwythach i Sodom a Gomorrah, Tyrus a Sidon, y rhai ni welsent ei weithredoedd, ac ni chlywsent ei bregethau, yn nydd mawr y farn, er mor druenus fyddent, nag arnynt hwy. Ië, ddarllenydd, cawn ninau gyfarfod wyneb yn wyneb â hen drigolion dinasoedd y gwastadedd, a phreswylwyr Tyrus a Sidon, a'r dynion oedd yn byw yn ninasoedd glan mor Galilea yn y dydd hwnw—dydd mawr y farn gyffredinol. Gofalwn am beidio actio fel y darfu iddynt hwy yn eu dydd.

Wedi traddodi y gwirioneddau arswydlawn hyn i'r dynion celyd oedd yn y gynulleidfa, trodd yn dirion at yr ychydig oeddynt yn crynu wrth ei air, gan eu gwahodd yn garedig, " Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythaf arnoch." Wedi iddo draddodi yr ymadroddion hynod hyn oll, gwahoddodd Pharisead o'r enw Simon ef i'w dy i fwyta bara. Pan oeddynt yn eistedd wrth y bwrdd daeth gwraig o'r ddinas a fuasai yn hynod am halogrwydd ei buchedd, ond yn awr ydoedd dan argyhoeddiad dwfn, trwy bregethau yr Arglwydd Iesu, i mewn i'r ystafell giniaw, ac ymgrymodd wrth draed yr Iesu o'r tu ol, gan wlychu ei draed ef â'i dagrau, a'u sychu â'i gwallt llaes, eu cusanu, ac yna eu heneinio ag enaint gwerthfawr. Wele yma wylder a diweirdeb wedi eu personoli. Anhawdd darllen yr hanes hwn yn ystyriol heb i'r teimladau lanw i fyny hyd yr ymylon eithaf. Gwelwyd llawer merch ieuanc brydferth ac anwyl yn mysg ein cenedl, wedi ei hudo a'i llithio trwy aml eiriau teg a gweniaith gwefusau, yn llithro i bwll llygredigaeth, a'r byd oer, dideimlad, os nad yr eglwys hefyd, yn edrych arni yn boddi, heb gynyg un cydymdeimlad na chymorth iddi ddod yn ol i'r lan. Yr ydym yn cael ein gwasgu i synied mai yn gyffredin y genethod mwyaf serchog. anwyl, a diniwed ydynt fynychaf fel hyn yn syrthio i'r dyfnder arswydlawn, ac oddiyno gyda chwerwder ysbryd, yn dymuno pe byddai yn bosibl dod yn ol, er bron yn gwbl anobeithiol ; bydd ceraint a chyfeillion yn troi draw gyda dirmyg, a hithau, druan, o dan deimlad llosgedig o'i gwarth yn myned yn mlaen yn gyflym, gyflym, ar hyd y llwybr llithrig sydd

yn arwain i lawr i byrth marwolaeth, a dyna hi o'r golwg am byth.

Wele yma un o'r cyfryw, Iuddewes ieuanc brydferth, wedi myned dros y geulan, wedi colli ei safle mewn cymdeithas weddaidd, wedi ei bwrw allan o'r gwmniaeth oedd yn hoffi ei chymdeithas unwaith, ac yn awr yn ngafael euogrwydd a gwarth oedd yn llosgi i fyny ei chyfansoddiad. Yn y cyfwng hwn clywai lais taer, tyner, Iesu Grist yn galw, "Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog a llwythog, a mi a esmwythâf arnoch," nes ei denu gyda nerth mor anorchfygol ar ei ol, gan ddysgwyl a hyderu y gallai, ac y gwnai ef yn ei dynerwch adfer yn ol iddi yr heddwch ydoedd wedi ei lwyr golli. Dyma hi wedi dylyn yr Iesu yn wylaidd ac ofnus i dy Simon, y Pharisead hunan-gyfiawn, a diserch at bawb ond ato ei hunan. Edrychai ef arni gyda'r dirmyg mwyaf. Ond yr oedd un o'i flaen yr hwn sydd a'i lygad fel fflam dân, yn canfod y dirgelion oll, ac yn y man dywedodd wrth y Pharisead, "Simon, y mae genyf beth i'w ddywedyd wrthyt. Dau ddyledwr oedd i'r un echwynwr, y naill oedd arno bum' can' ceiniog, a'r llall ddeg-a-deugain, a phryd nad oedd ganddynt ddim i dalu, efe a faddeuodd iddynt ill dau; dywed, gan hyny, pa un o'r rhai hyn a'i câr ef fwyaf." Yr oedd holiad fel hyn yn taro maintioli meddwl Simon yn gymwys, ac atebodd yn rhwydd, "Yr wyf yn tybied mai yr hwn y maddeuodd efe fwyaf iddo." Eithr nid oedd efe wedi dyfalu fawr beth fyddai y cymwysiad. "Uniawn y bernaist," ebe yr Iesu; ac yna trodd at y wraig, a dywedodd wrth Simon, "A weli di y wraig hon? Mi a ddaethum i'th dŷ di, ac ni roddaist i mi ddwfr i'm traed; ond hon a

olchodd fy nhraed â dagrau, ac a'u sychodd â gwallt ei phen. . Ni roddaist i mi gusan, ond hon ni pheidiodd a chusanu fy nhraed. Fy mhen ag olew nid iraist, ond hon a irodd fy nhraed ag enaint. O herwydd paham y dywedaf wrthi, Maddeuwyd i ti dy bechodau, oblegid hi a garodd yn fawr; ond yr hwn y maddeuwyd ychydig iddo a gâr ychydig. Ac efe a ddywedodd wrth y wraig, Maddeuwyd i ti dy bechodau." Nid rhyfedd i Dafydd ddywedyd yn ei gyfyngder, "Syrthio a wnelwyf yn llaw yr Arglwydd." Mae amgylchiad fel hwn yn gwneyd mwy i gadarnhau y galon am Dduwdod yr Iesu na phe byddai Sanhedrim gyfan o dduwinyddion goreu y byd yn traethu hyd eu hoes ar y mater. Hefyd, teifl stori fel hon oleu tanbaid ar werth y ddynoliaeth. Dywedir i ni fod ffenestr liwiedig ardderchog yn un o eglwysi cadeiriol Lloegr, wedi ei gweithio gan brentis o ddarnau gwydr gwrthodedig gan ei feistr, a phan ei gorphenwyd, ei bod yn brydferthach nag un o'r ffenestri eraill. Gwrthodai yr holl adeiladwyr y pechadur, gan wneyd eu haddurniadau o'r cyfiawnion. Ond dyma adeiladydd newydd, ac ar y defnyddiau gwrthodedig, ar y pechaduriaid, y mae ei lygad ef. Dyma y meini a ddewisa i'w adeilad. Mae yn hyfryd i bawb, ond i'r Pharisead sanctaidd, gofio hyn.

## PENNOD XIII.

*Yr ail daith trwy Galilea—Y ddameg gyntaf, dameg yr hauwr—Yn dychwel i Capernaum—Tawelu yr ystorm—Gwlad y Gadareniaid—Ei moch a'i chythreuliaid.*

Wedi aros am dymor byr yn nghymydogaeth Capernaum a glanau y môr-lyn, cychwynodd yr Arglwydd Iesu ei ail daith gyda ei ddysgyblion trwy ddinasoedd a threfydd Galilea. Tybia rhai o'i berthynasau fod ei lafur diddiwedd yn beryglus o yru yr Iesu allan o'i synwyrau, os nad oedd bron felly eisoes. Ni bu erioed ystori wanach a mwy annhebyg. Pan ar ei deithiau trwy y dinasoedd, elai i mewn i'r synagogau i bregethu i'r bobl, eithr nid oedd mewn un modd yn cyfyngu ei hun i'r synagogau. Byddai, fel y soniwyd, yn traddodi ei addysgiadau o dan yr awyr agored, ar y bryniau, yn y meusydd, ac yn fynych oddiar fwrdd cychod pysgota a ddygwyddent fod ar draeth y llyn.

Buom yn gwneyd ymgais i ddylyn y Gwaredwr, ac nid cyn chwilio llawer y daethom i wybod nad ellir gwneyd hyny, eithr gallwn feddwl iddo deithio trwy yr holl dalaeth. Cyflawnodd luaws o wyrthiau, pregethodd lawer iawn, gan ddefnyddio pob cyfleusdra i ddysgu y bobl. Y pryd hwn iachaodd ddyn mud a dall o'i enedigaeth; ac er cwblhau ei drueni, yr oedd cythraul wedi gwneuthur ei ffau ynddo. Mae meddwl am ddynoliaeth wedi myned mor isel a hyn yn arswydlawn, a phwy ond yr Iesu a wnaethai sylw o'r fath greadur? Sylwodd ef arno, a gwnaeth ddyn newydd prydferth o'r hen adfail hagr, gwnaeth sant o ddyn

cythreulig; a'r gydnabyddiaeth a dderbyniodd am hyn oddiar law penaethiaid crefyddol ei bobl ydoedd enllib, sef taflu allan awgrymiad mai trwy Beelzebub, penaeth y cythreuliaid, yr oedd efe yn bwrw allan gythreuliaid. Y fynyd nesaf yr oedd ganddynt y digywilydd-dra i ofyn iddo am arwydd o'r nef i brofi mai efe oedd y Messiah. Parodd hyn iddo droi atynt a'u ceryddu yn llym am eu rhagrith a'u calon-galedwch. Yr oedd ei iaith ar y pryd yn arswydlawn a llosgedig, ac mae ein natur yn brawychu ac yn crynu wrth ei darllen. Gallem feddwl fod iaith ar ei heithaf i ddal y fath ddrychfeddyliau. Yr Iesu yn ei ras a'n gwaredo rhag bod o dan yr un condemniad.

Crybwylla Luc fod myrddiwn o bobl wedi ymgasglu yn nghyd, hyd onid oeddynt yn sathru traed eu gilydd wrth ymsymud ar hyd y ffyrdd a'r heolydd, yr hyn a ddengys fod yr holl wledydd wedi eu cynyrfu trwyddynt, ac megys yn tywallt eu preswylwyr yn ffrydiau llifeiriol o bob cyfeiriad i'r manau y byddai yr Iesu yn ymweled a hwy. Pan ar y daith hon, defnyddiodd am y waith gyntaf y dull hynod hwnw o lefaru, sef trwy ddamegion. Yr adeg hon traddododd ddameg yr hauwr, dameg efrau y maes, ac amryw eraill. Yr oedd hwn yn hen ddull o draddodi addysg, ac yn arferedig yn mysg cenedloedd y dwyrain er yn foreu. Eto y mae damegion yr Arglwydd Iesu, fel ei bobpeth arall ef, yn tra rhagori ar ddim a glywodd y glust ddynol o'r blaen.

Wedi cyniwair trwy holl Galilea, dychwelodd yr Arglwydd Iesu at lan môr Galilea drachefn, ac yn fuan, dybygem, cymerodd long i'w gludo i'r wlad tu hwnt i'r Iorddonen, ac ymddengys fod y llestr hon o

gryn faintioli, yn cynwys lluaws o deithwyr heblaw efe a'i ddysgyblion. Tebygol ei bod agos yn nos cyn iddynt gychwyn eu mordaith, ac erbyn eu bod tua chanol y llyn yr oedd yn y man tywyllaf. Yr Iesu yn flin gan lafur y dydd blaenorol, a aeth i lawr i ben ol y llong, ac yn fuan yr ydoedd yn cysgu yn drwm a thawel. Yn fuan cododd tymestl ddisymwth o wynt dros y llyn gan gynyddu fwy-fwy, nes oedd y dysgyblion a phawb yn y llong yn y dychryn mwyaf am eu heinioes, ac aethant i lawr yn gyffrous i ddeffro yr Iesu; a braidd na buasent yn ei feio am ei fod mor ddifater yn cysgu, a hwythau oll yn y fath enbydrwydd. Cyfododd yr Iesu yn ebrwydd, ac wedi myned i fyny ar y bwrdd, gorchymynodd i'r gwynt a'r tonau ymdawelu. Adnabu yr elfenau gorwyllt ei lais yn y man; gostegodd y gwynt ac ymlonyddodd y môr, a bu tawelwch mawr. Yna trodd at ei ddysgyblion a rhoddodd gerydd tyner iddynt—yn ol Matthew, "O, chwi o ychydig ffydd;" neu yn ol Marc, "Pa fodd nad oes genych ffydd?" Nid oeddynt yn gwbl heb ffydd, oblegid eu ffydd ynddo a barodd iddynt fyned i'w ddeffro; eithr nid oedd eu ffydd fel arf y milwr wrth law pan oedd ei hangen; yr oedd megys wedi ei chamgyfleu, ac nid oedd yn barod pan oedd fwyaf o'i heisiau. Nid yn eu gwaith yn galw ac yn deffro yr Iesu yr oedd y diffyg, oblegid gweithred o ffydd ydoedd hyny, ond yn hytrach yn eu penbleth a'u dychryn, rhag ofn y buasai y llestr yn suddo, a'r Duwddyn ar ei bwrdd. Tarawyd y dynion oedd ar y llestr, ac ar y mân lestri oedd gyda hwy, â'r syndod mwyaf, a dywedasant, "Pa fath ddyn ydyw hwn, gan fod y gwyntoedd a'r môr yn ufuddhau iddo?"—ym-

adrodd o gyffelyb ystyr âg eiddo y Salmydd, "Arglwydd y lluoedd, pwy fel tydi sydd yn llywodraethu ymchwydd y mor; pan gyfodo ei donau ti a'u gostegi." Yn mhen ychydig bach o amser yr oedd y llong wrth y lan draw, yn ddiogel.

Yr oeddynt yn awr yn agos i ddinas a elwid Gadara, a chyda ei bod yn ddydd, dyma ddau gythreulig yn dod allan o'r bedd-adeiladau oedd gerllaw y ddinas. Mae yn bur naturiol i ni synied mai ychydig gwsg na gorphwysdra oedd y rhai truain hyn a'r lleng cythreuliaid ynddynt yn ei gael, a thebygol iddynt glywed swn y bobl oedd yn y llongau gyda'r Iesu yn glanio. Mae'n eglur fod un o'r ddau megys yn gynddeiriog wyllt ac yn cadw y gymydogaeth mewn cyffro parhaus. Gan fod hwn yr hynotaf o'r holl rai cythreulig y sonir gan yr Efengylwyr am danynt, rhoddwn yma hyny o eglurhad a allwn ar y mater dyrys hwn. Myn rhai dori y peth yn fyr trwy ddyweyd mai gwallgofiaid oeddynt, ac fod yr Arglwydd Iesu oddiar yr ystyriaeth oedd yn meddwl y dynion eu hunain eu bod wedi eu meddianu gan gythreuliaid, yn cyd-ddwyn a'r mympwy hwn er eu tawelu a chael gwell cyfle i nesau atynt i wneyd lles iddynt. Ond y mae ei gymeriad ef fel Duw y gwirionedd yn gwrthdaro y fath syniad. Yr oedd gwallgofrwydd ac annhrefn yn nghorff ac enaid y dyn mae'n ddiau, eithr yr oedd hefyd lawer mwy na hyny. Nid dynion oeddynt yn unig yn ngafael afiechyd hyllig ac arswydlawn ag y mae pechod wedi gwneyd y ddynoliaeth yn agored iddo, nac ychwaith rhai hynod mewn drygioni, wedi myned i eithafion mwy na chyffredin, fel pe buasent wedi ymwerthu yn weision i'r un drwg; ymddengys eu bod, nid yn per-

thyn i deyrnas Satan, fel y cyffredin o'i ddeiliaid, eithr yn hytrach fod un neu ragor o gythreuliaid uffern, wedi cymeryd meddiant o'r dyn gorff ac enaid, ac fel y pryf copyn wedi dal y gwybedyn truan yn ei we, gan sugno gwaed ei galon. Nid ydym yn deall fod yr hanes ysgrythyrol yn dangos y dynion hyn y rhai gwaethaf o bawb. Yr oeddynt, mae yn wir, y mwyaf annedwydd o ddynion, ond nid o angenrheidrwydd y mwyaf pechadurus. Yn gydweddol a hyn, cawn yn y rhai cythreulig deimlad o'u trueni ac o arglwyddiaeth a meistrolaeth gaeth anwrthwynebol yn eu gwthio yn barhaus yn mhellach oddiwrth Dduw. Sefyllfa neu gyflwr o feddiant yn ol llawn ystyr y gair ydoedd; gallu arall yn llywodraethu enaid a chorff, ac wedi bwrw hyd yn nod ewyllys y dyn oddiar ei gorsedd. Teimlai y dyn er hyny yn dra thruenus o'r herwydd, a dyma oedd yn eu gwneyd yn wrthrychau tosturi yr Arglwydd Iesu. Heb y teimlad hwn o'u trueni buasent mor bell o fod yn wrthrychau ei drugaredd ef a'r cythraul ei hun, yn yr hwn nid oes dim i drugaredd gymeryd gafael arno. Byddai dweyd fod dyn wedi ei feddianu gan gythraul yn gyfystyr a dyweyd ei fod yn hynod mewn drygioni, yn anghywir, oblegid nid oes yn yr olaf un dymuniad am waredigaeth oddiwrth bechod; ar yr un pryd mae amryw dduwinyddion yn barnu fod ymdroi mewn pechodau neillduol megys chwantau y cnawd, yn gwanhau, yn llacio y cyfansoddiad ac yn gwneyd llwybr i allu y tywyllwch gymeryd meddiant o'r dyn, ac fel hyny yn ei wneyd yn euog, er nad y mwyaf euog o ddynion. Teimlai y dyn iddo roddi mantais i'r cythraul ddyfod i mewn yn arglwydd arno, iddo agor

y drws i'r gelyn ddod i mewn, ac nad allai mwyach gau y ddor yn ei erbyn ; eto mae yn eglur mai nid fel hyn yr oedd gyda'r oll o'r rhai cythreulig, oblegid yr oedd rhai o honynt felly o'u mebyd. Nid dylanwad ydoedd mwyach, oblegid nis gallai y dyn ei wrthsefyll; er dymuno hyny, gorfodid ef i siarad a gweithredu yn ol ewyllys yr ysbryd oedd o'i fewn. Yr oedd yma enaid, a hwnw ar adegau yn teimlo y trais a'r gorthrymder o fod gallu arall wedi cymeryd meddiant o'i orsedd, a gwneid gwrthwynebiad gwan a dieffaith yn erbyn y gallu cryf. Goddefasai Duw yn ei ragluniaeth ddoeth i hyn gymeryd lle yr adeg hono. "Hon ydyw eich awr chwi a gallu y tywyllwch." Ond yn adeg gweinidogaeth yr Arglwydd Iesu, syrthiodd fel seren o'r nef, sef o uchelder ei allu. Tybia rhai fod y trueni hwn i'w gyfarfod mewn rhai personau eto, ac y gellir eu gweled nid yn anfynych mewn gwallgofdai yma a thraw. Ond byddai raid cael dynion ysbrydoledig fel yr Apostolion i'w nodi allan gyda sicrwydd.

I ddychwelyd at hanes y wyrth fawreddog yn ngwlad y Gadareniaid : sonia Matthew am ddau ddieflig, tra na chrybwylla Marc a Luc am ddim ond un. Ceisir cysoni hyn lawer ffordd ; tybir fod un o'r ddau yn llawer mwy adnabyddus na'r llall yn yr ardal, fod un yn llawer mwy cynddeiriog a pheryglus na'r llall. Beth bynag, cilia un o'r golwg yn yr hanes ; ar yr un pryd mae yn eglur ei fod yno yn bresenol, ac yn debygol wedi ei iachau hefyd. Mae darlun y dyn truenus gan yr Efengylwyr yn un arswydlawn, a phob un yn tynu rhyw linell briodol iddo ei hun yn y darlun. Gan Marc y ceir y llinellau cryfaf, fel yn gyffredin

mewn hanes amgylchiadau o'r fath. Trigai yn mysg y beddau, yn ymgreinio yn mysg esgyrn y meirw, mewn llanerch unig, anghyfanedd. Yr oedd y cythreuliaid ac yntau, rhyngddynt, yn meddu nerth goruwchnaturiol i ddyn, fel yr oedd yn darnio y rhwymau cryfaf a allesid osod arno; rhedai oddeutu yn ngymydogaeth y beddlanau yn noethlymyn, fel y gwna gwallgofiaid yn fynych, a chymaint oedd yr arswyd rhagddo, fel y cymerai negeswyr heibio i'r fan gylch eang rhag ofn iddo gael gafael arnynt. Ond yr oedd ynddo ar adegau deimlad cryf o'i drueni a'i gaethiwed echryslawn, fel y rhoddai arllwysiad i'r teimlad hwnw mewn aml oernad frawychus.

Y par truenus hwn oedd y rhai cyntaf i gyfarfod yr Iesu ar y traeth y boreu y tiriodd yn ngwlad y Gadareniaid; ac ymddengys oddiwrth Matthew eu bod ar y cyntaf yn amcanu niweidio yr Iesu a'r rhai oedd gydag ef, ond fod yr ewyllys ddynol am foment wedi cael y llaw uchaf, a'r dyn yn rhyw obeithio yn wan, efallai, fod siawns iddo am waredigaeth, ac yn rhedeg at yr Iesu er gwaethaf y cythreuliaid nerthol creulon. Yr oedd bellach wedi myned yn rhy ddiweddar ar y diafol. Cyrhaeddasai y truan y cysgod, a gorchymynodd yr Iesu iddo ollwng ei ysglyfaeth yn rhydd. "Tyred allan o hono," oedd y gorchymyn, a theimlai y cythraul ei fod yn un nad oedd yn wiw ymladd yn ei erbyn; fod yno un cryfach na'r cryf arfog, a gwaeddai mewn cynddaredd, "Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, Iesu, Mab y Duw goruchaf? yr wyf yn dy dynghedu trwy Dduw na phoenech fi." Iaith gableddus cynddaredd yn ymdywallt allan ydyw y frawddeg olaf, dybygem. Clywsom ei thebyg ar ben ffair yn Nghym-

ru weithiau, ac o amgylch masnachdai gwirod poethion, yn America.

Os sylwer yn fanwl ar ymadroddion y tri Efengylwr, canfyddwn nad ufuddhaodd yr ysbryd drwg i archiad cyntaf yr Iesu, eithr daliai y creadur mileinig i ddadleu am gael aros, os oedd yn bossibl, yn ei ffau; nid, yn sicr, am nad allasai y Duw-ddyn ei hyrddio i anwn mewn moment, ond ei amcan tuag at y dyn oedd cymeryd y llwybr graddol hwn: Gofynodd yr Arglwydd Iesu yn gyntaf iddo ei enw, hwyrach i'w ddwyn i gof ac ystyriaeth ei fod eto yn ddyn. Er ei holl drueni y mae rhyw gysylltiad agos iawn rhwng dyn a'i enw. Y mae rhyw myfi oddi mewn yn ateb iddo yn y fan. Trwy ddylanwad y cysylltiad hwn mynai yr Iesu dawelu y dyn a hyrwyddo y ffordd iddo, efallai, i dderbyn ymwared. Os hyn oedd yr amcan, mae naill ai yr ysbryd aflan yn cipio at yr ateb ei hun, neu ynte y dyn wedi llwyr anghofio ei bersonoliaeth ei hunan, yn ateb, "Lleng yw fy enw, canys y mae llawer o honom." Mae yr atebiad yn gymysgedd rhyfedd o wirionedd a chelwydd wedi eu cordeddu yn arswydus â'u gilydd, ac yn awgrymu fod y dyn yn ystyried ei fod ef a'i enw wedi eu colli byth. Newidir y personau o'r unigol i'r lluosog gyda'r cyflymdra mwyaf, yn yr ymdrafodaeth. Troai yr ysbryd aflan i grefu ar yr Iesu i beidio eu harwain hwy i'r dyfnder, neu yn ol Luc, "allan o'r wlad." Ymddengys i'r erfyniad hwn, fel y dywed Luc, ddyfod oddiwrth y dyn yn hytrach. Yr un ystyr sydd i'r geiriau yn y ddau Efengylwr, oblegid yn ol syniad yr oes, yr oedd tiriogaeth neillduol yn cael ei phenodi i'r ysbrydion drwg a da, ac nid allent ar un cyfrif groesi y ffin. Buasai eu

troi allan o'r wlad, heb un arall yn agored i fyned iddi, yn gyfystyr a'u bwrw i'r dyfnder, oblegid y dyfnder yn unig oedd bellach yn eu haros. Ail erfyniad am beidio eu poeni cyn eu hamser oedd hyn. Gellid meddwl i'w dymuniad gael ei ganiatau, trwy oddef iddynt fyned i'r moch, eto ymddengys i'r hyn a ofnent ddisgyn arnynt bron yn ebrwydd, oblegid rhuthrodd y moch a hwythau ynddynt dros y dibyn i ddyfnderau y llyn, ac oddiyno yn is i ddyfnderau uffern mae yn debygol. Darfu eu hoffder o ddinystrio eu harwain i ddyfetha y drigfa newydd oeddynt wedi ei ddewis iddynt eu hunain. Codasant dymestl yn ngwersyll y moch nad allent ei rhoddi i lawr.

Hwyrach fod eu mynediad i'r moch yn rhywbeth i'r dyn neu y dynion, yn peri iddynt deimlad o ddiogelwch a boddlonrwydd, wrth feddwl fod y cythreuliaid mewn gwirionedd wedi eu gadael. Yr oedd y waredigaeth rhagddynt yn fwy amlwg wrth edrych ar ddinystr ei boenydwyr, fel Israel gynt ar lan y môr Coch, yn canfod eu hen gaseion yn gelaneddau ar y traeth. Tybia rhai mai amcan y cythreuliaid wrth ofyn caniatad i fyned i'r moch, oedd niweidio yr Iesu, gan fod yr Iesu wedi ei gadwyno fel nad allai niweidio dynion, a gobeithient trwy ddinystrio y genfaint foch godi y wlad yn erbyn yr Iesu, o achos y golled drom a gafodd, ac yn hyn llwyddasant. Ofnai y dinaswyr ychwaneg o golledion, a dymunasant ar yr Iesu adael eu cyffiniau. Yr oedd yn ddiau ryw ddirgelwch arswydlawn yn perthyn i ddyn ag yr oedd y fath allu ganddo ar fyd yr ysbrydoedd, ond pe buasent yn cymeryd golwg deilwng ar y defnydd a wnaeth o'r gallu dyeithr hwn, sef adfer eu cyd-ddyn, a'u

brawd, buasent yn llawenhau ac yn croesawu ei gymwynasau. Eithr yr oedd ganddynt fwy o olwg ar eu moch nag ar eu cyd-ddinesydd. Paham, medd un, y goddefai yr Iesu i'r cythreuliaid fyned i'r genfaint foch, ac yn gwybod beth fyddai y canlyniad? Atebwn y gofyniad yn rhwydd, os gall rhyw un ddweyd pa nifer o foch sydd yn gydwerth ag enaid anfarwol. Mae rhyw syniad brawychus yn codi yn y meddwl fod byw yn uffern, yn y dyfnder, yn fywyd caled hyd yn nod i gythraul; pa faint mwy i ddyn?

Mae y dyn cysurus, dedwydd, bellach, yn ymlynu wrth ei waredwr, a mynai fyned gydag ef dros y mor. Dichon fod ynddo radd o ofn rhag i'r cythraul gael gafael arno drachefn, a theimlad o anniogelwch, heb fod yn agos at ei amddiffynwr, yn gymysg ag ymlyniad cryf wrtho a chariad ato, gan ddymuno bod yn ddylynwr iddo mwy. Bron na chlywem ef yn defnyddio iaith gyffelyb i eiddo Ruth, "Nac erfyn arnaf fi ymadael a thi i gilio oddiar dy ol di, canys pa le bynag yr elych di yr af finau, ac yn mha le bynag y lletyech di y lletyaf finau." Ond ni chaniatâi yr Iesu hyn iddo. Er ei fod yn gorfod gadael y Gadareniaid didduw, nis gadawai hwynt yn ddidyst; byddai y dyn a iachasid yn gofgolofn o'i allu â'i ras yn mysg cenedlaeth bechadurus a throfaus. Braidd na feddyliem hefyd fod y nacad hwn yn dal cysylltiad ag ansawdd meddwl y dyn ei hunan. Gorchymynai yr Iesu i rai dewi a son am eu hiachad, am fod perygl i'r argraff wisgo ymaith oddiar eu meddwl trwy drafod yr hanes yn barhaus, a gorchymynai ddystawrwydd, fel y gallai y meddwl ddal cymundeb myfyriol ag ef ei hun uwch ben y drugaredd oedd wedi ei derbyn. O'r tu arall

lle byddai meddwl tueddol i brudd-der, fel y gall fod yn yr amgylchiad hwn, yr oedd yn dewis ei dynu allan megys o hono ei hunan i ymddyddan a thraethu am ei waredigaeth, fel ag i gadw yr enaid mewn ansawdd iachusol. Ar yr un pryd nid ydym yn ameu nad oedd rhesymau eraill am y gwahaniaeth yn y gorchymynion a roddai yr Iesu i'r rhai a iacheid ganddo.

Croesodd yr Iesu a'i ddysgyblion y morlyn yn ol i Capernaum, gan adael gwlad y Gadareniaid, yn ol eu dymuniad.

---

## PENNOD XIV.

*Y wledd yn nhy Matthew Levi—Iachau merch Jairus —Y wraig a'r diferlif gwaed—Anfon allan y deuddeg dysgybl—Porthi y pum mil.*

O gylch yr amser hwn gwnaeth Matthew Lefi, y publican gynt, wledd i'r Iesu a'i ddysgyblion, a gwahoddodd luaws o'i hen gymdeithion i gyd-eistedd a chyd-fwyta â hwy. Gwnai Matthew hyn, dybygem, mewn gobaith y byddai cymdeithas ac addysgiadau yr Iesu yn lles iddynt, fel yr oeddynt wedi bod iddo ef ei hunan. Eithr yr oedd ei elynion yn llawn cyffro, ac yn ei wylio, ac yn awr taflasant i'w wyneb, trwy ei ddysgyblion, ei fod yn cymdeithasu ac yn cyd-fwyta gyda dynion gwaethaf y wlad. Er mai mewn dirmyg y dywedent hyn, eto cynwysa eu geiriau wirionedd o'r fath fwyaf pwysig. Mae cnewyllyn yr efengyl ei hunan yn y cyhuddiad hwn o eiddo y Phariseaid. Yr oedd yr Iesu yn bwyta, ac yn yfed hefyd, gyda phublicanod a phechaduriaid, ac nid oedd cywilydd ganddo

o'u cwmniaeth, oblegid rhoddai efe bob cyhoeddusrwydd i'r syniad, mai i gasglu yn nghyd gymdeithas fawr nad allai neb ei rhifo byth o'r cyfryw yr oedd efe wedi gadael ty ei Dad. Derbyniai ddynion a merched, ie merched drwg, y rhai yr oedd cymdeithas barchus yn eu gwrthod gyda dirmyg. Po waethaf y dyn, mwyaf oedd y dyddordeb a gymerai yr Iesu ynddo. Nid rhyfedd fod y Phariseaid sanctaidd yn ei erlid. Beth a dybid yn awr o ddyn a honai yn gyhoeddus ei fod wedi dyfod i gymydogaeth i gasglu yn nghyd a gwneyd cyfeillion o wehilion gwrthodedig cymdeithas? Edrychid arno gan fyd ac eglwys hefyd nemawr well na hwythau. Ond yr oedd yr Iesu yn caru y fath â chariad angerddol. Yr oedd ei lygad craff ef yn canfod eu gwerth, nid am eu bod yn ddrwg, mae'n sicr, ond canfyddai ynddynt, y dyn, y perl, er mae yn wir mai golwg digon afrywiog oedd arnynt, a dylai gael cydnabyddiaeth pe na byddai ond am ei graffder, oblegid methai neb arall ganfod dim gwerth ynddynt. Yr oedd y Phariseaid llyfn ar ben eu digon, digon o gyfiawnder, digon y sancteiddrwydd, digon o bobpeth i'w gwneyd yn dderbyniol gan Dduw, eithr am y rhai hyn nid oedd ganddynt ddim. Collasent eu parch a'u safle yn y wladwriaeth a'r eglwys Iuddewig o herwydd eu pechodau; lluaws o honynt yn dlodion, yn wehilion y byd yn mhob ystyr, ac heb nemawr o obaith fod na dyn na Duw yn prisio dim am danynt hwy. Yr oedd eglwys Dduw, fel yr oeddynt hwy yn ei hadnabod, yn cau y drws yn eu hwyneb; yr offeiriaid, gweinidogion y cysegr, yn eu dirmygu o herwydd eu pechodau. Teimlai llawer o honynt er hyny i'r byw am eu bod felly, a dyma Iesu Grist yn dod trwy

y wlad, yn dirion wrth bawb, yn derbyn pawb, a chanddo air o obaith, cysur, ac anogaeth ar gyfer yr iselaf yn y pwll. Os deuai gair llym oddiwrtho ef i ryw un, y Phariseaid fyddai yn sicr o gael hwnw, ac nid pechadur tlawd. Tywynai ei lygad tyner, a'i wyneb hawddgar ar y pechadur bob amser. Yr oedd yr Iesu fel hyn yn dwyn calon pob pechadur teimladwy o'i drueni, oblegid canfyddai y cyfryw, nid yn gymaint â llygad rheswm, ond â'r galon, y peth mawr oedd yn eisiau arno ef yn yr Iesu, sef cydymdeimlad dwfn a chymorth i'r gwan. Y mae doethineb dwyfol yn dod i'r golwg yn y dull hwn o gasglu deiliaid i deyrnas Dduw; oblegid bydd pob un a enillir fel hyn yn sicr o fod yn ffyddlawn byth i'w brenin. Mae eu calon wedi ei rhoddi ganddynt hwy eu hunain iddo. Os bydd eisiau merthyr i ddyoddef er dangos gwerth ei achos, câ ddigon i wynebu y tân yn siriol o fysg y rhai hyn. Pe buasai yr Iesu yn myned i fysg y Phariseaid, goreuon y wlad, buasent eisiau y llywodraeth, ac nid gwasanaeth; ond yn y pechadur byddai yn sicr o gael deiliad a fyddai yn ewyllysgar iddo yn nydd ei nerth. Yr oedd pechaduriaid â'r Iesu yn deall eu gilydd, ac yn syrthio mewn cariad â'u gilydd y pryd hwnw mor fuan ag y deuent i gyffyrddiad. Y maent felly eto, a gallem feddwl y bydd yn foddhad mawr i'r Iesu ei hun gael ei amgylchynu byth gan gwmni a fydd yn ei garu mor angerddol. Atolwg, ddarllenydd, cyd-ddyger â ni am gwydro tipyn fel hyn weithiau.

Tra y dygid yn mlaen y murmur hwn yn ei erbyn wrth fwrdd y ciniaw, daeth rhai o ddysgyblion Ioan, i'r rhai yr oedd croesaw bob amser, at yr Iesu. Yr oedd y gwyr hyn mewn dyryswch meddwl, beth allai

fod y rheswm eu bod hwy a'r Phariseaid yn ymprydio, yn cospi y corff a'i ddwyn yn gaeth, tra yr oedd dysgyblion yr Iesu yn bwyta ac yn yfed yn siriol fel dynion ereill. Rhoddodd yr Arglwydd Iesu, trwy gydmariaeth eglur a thlos, lawn foddlonrwydd i'w meddyliau dros ei ymddygiad ef a'i ddysgyblion. Ar hyn wele foneddwr parchus yn ymwthio yn mlaen i bresenoldeb yr Iesu, yn ymgrymu ac yn dywedyd gyda theimlad cyffrous, fel yr adroddir gan Matthew, "Bu farw fy merch." Yn ol Marc yr oedd y "ferch fechan ar drancedigaeth," ac yn ol Luc "yn marw." Nid ydyw hyn o wahaniaeth yn adroddiadau yr Efengylwyr yn anhawdd ei gysoni. Gadawai y tad ochr gwely ei blentyn pan yr oedd fel y tybiai ef yn marw, ac ni wyddai mewn gwirionedd pa un ai byw ai marw ydoedd, felly dywedai ar un anadliad fel hyn, ac ar y nesaf fel arall; y mae y gwahanol ymadroddion a ddefnyddiai y tad yn ddarlun byw o'r amgylchiad, a rhyfedd eu bod yn cael eu defnyddio gan neb i geisio dangos anghysondeb yn yr haneswyr sanctaidd. Fel yr adnebydd mam bryderus swn llef ei baban claf, adwaenai yr Arglwydd Iesu lais ffydd yn nhôn Jairus. Gadawodd y ciniaw a'r cwmni yn y fan. Ei fwyd ef oedd gwneuthur ewyllys yr hwn oedd wedi ei anfon. Nid ydym yn tybied iddo gyffroi dim, eto awgryma gwedd yr hanes ei fod yn symud yn gyflym tua thy Jairus, penaeth y synagog, fel y geilw Marc a Luc ef, a dylynid ef gan ei ddysgyblion a thorf fawr o bobl. Pan ar y ffordd rhwng ty Lefi a thy Jairus, a'r dorf gynhyrfus, ddifoes, yn ei wasgu, cyffyrddwyd ag ef gan wraig afiach, yr hon a fuasai ddeuddeng mlynedd â diferlif gwaed arni. Clefyd mor aflan bron a'r

gwahanglwyf ydoedd hwn, ac yn achos cyflawn o ysgariaeth oddiwrth briod ei hieuenctyd, a phob cysur, cydymdeimlad ac ymgeledd teuluaidd. Mae yn eglur oddiwrth yr hanes iddi fod unwaith yn wraig o gyfoeth a pharch, ond erbyn hyn wedi treulio y geiniog olaf mewn ymgais ofer am adferiad, ac yr oedd bellach yn dlawd a digysur, yn sypyn o aflendid a ochelid gan gymdeithas o herwydd budredd ei hafiechyd. Mae yn anhawdd synied am neb mewn sefyllfa fwy torcalonus, oddieithr y gwahanglwyfus, gyda haner ei aelodau wedi pydru oddiwrth ei gorff. Credai y wraig druan pe cawsai ond cyffwrdd ag ymyl gwisg yr Iesu, yr adferid iechyd iddi yn y man. Yr oedd ei ffydd o'r iawn ryw, eithr yn gymysg â llawer o dywyllwch. Prin y gallai amgyffred mai o'i drugaredd a'i ewyllys da yr oedd yr Iesu yn iachau, ond dychmygai fod rhyw rinwedd yn ei berson, fel pe cawsai ond cyffwrdd ag ef y buasai i'r rhinwedd hwnw lifeirio i'w chyfansoddiad a'i gwneyd yn iach. "Ymyl ei wisg," meddai ; nid am fod yr ymyl neu yr *hem* yn haws ei gyffwrdd mae'n debyg, ond am y tybiai, hwyrach, fod mwy o rinwedd yn yr ymylon, oblegid eu bod wedi eu rhoddi ar y wisg yn ol gorchymyn Duw i'r genedl, er eu hadgoffa mai pobl yr Arglwydd oeddynt. Num. 15 : 37; Deut. 22 : 12. Gwnai y rhagrithwyr yr ymylon hyn yn llydain, yn arwydd o fawr sancteiddrwydd. Er nad oedd ffydd y wraig fel hyn yn berffaith, eto yr oedd yn wir ffydd, ac nid oedd un perygl iddi gael ei siomi gan yr Iesu. Y foment y cyffyrddodd ei bysedd â'i wisg, a'i chalon ar yr un pryd yn crynu yn ei mynwes rhwng gobaith ac ofn, teimlai ei hun yn gwbl iach. " Pwy a gyffyrddodd â mi, canys

aeth rhinwedd allan o honof?" ebai yr Iesu. Nid ydym i ystyried oddiwrth y gair hwn nad ei weithred ef ei hun oedd y wyrth. Yr hwn a welodd ddirgelion calon Nathanael o dan y pren, yr hwn nid oedd raid iddo am i neb ei hysbysu beth oedd mewn dyn, a wyddai am ansawdd afiechyd corfforol yn gystal a theimlad mewnol y wraig druan, er nad oedd wedi ei gweled na chlywed gair am dani erioed. Gwyddai yn dda am yr angen oedd arni am ei gymorth; canfyddai hefyd ei bod yn meddu y ffydd ag oedd bob amser yn gyfrwng priodol i dderbyn iechyd tymorol ac ysbrydol. Os gwyddai yr oll, paham ynte yr oedd yn gofyn pwy a gyffyrddodd ag ef? Yr oedd i'r gofyniad ei amcan pwysig, oblegid pe buasai y wraig yn cael llonydd i gario ymaith yn ddirgel y fendith dymorol, buasai yn myned ymaith heb y fendith arall anfeidrol fwy ei gwerth, sef iachawdwriaeth dragywyddol. Pan welodd y wraig nad oedd hi guddiedig, ac fod yr Iesu eisoes a'i lygad arni, hi a ddaeth dan grynu ac a syrthiodd wrth ei draed gan fynegu yn nglyw yr holl dorf am ei hafiechyd torcalonus, ac fel yr iachawyd hi ar ei gwaith yn cyffwrdd a'i wisg ef. Ni fynai yr Iesu yn ei ras ollwng perchen y fath ffydd oddiwrth ei borth ef gydag iechyd cerfforol yn unig; mynai ef roddi iddi lawer mwy. Pe cawsai hi ei hamcan o gadw y peth yn ddirgel, fel yr oedd yn ei gwylder a'i hofnau yn mawr ddymuno, bendith gloff a fuasai ganddi ar y goreu. Ond ataliodd yr Iesu hi, er cyfranu iddi fendith deilwng o hono ei hun, sef iachawdwriaeth. Wedi ei thynu megys trwy fwlch yr adenedigaeth, gollyngodd hi ymaith yn y modd mwyaf cysurus, a dychymygwn ei gweled yn ymwthio trwy y

dorf yn brysur tuag adref, mor ysgafn-droed a'r ewig, gyda chalon gynes, lawn o ddiolchgarwch at ei Hiachawdwr mawr.

Rhoddir amgylchiadau fel hyn o flaen ein llygaid fel y gwelom ac y credom mai da ydyw Duw, ac y gallom wrth edrych arno yn wyneb Iesu Grist, ymddiried yn well ynddo. "Dos mewn heddwch, a bydd iach o'th bla," meddai yr Iesu wrthi. Dichon fod y wraig wedi dwyn yr afiechyd arni ei hun, trwy ryw bechod y gwyddai ei chydwybod hi am dano, ag oedd yn faich trwm ar ei hysbryd. Ond wele yr afiechyd, y pechod, a'r cwbl wedi eu symud, a hithau yn wraig lân, anwyl, a hawddgar, er adenill serch ei phriod hoff ag ydoedd wedi ymddyeithro oddiwrthi. Yr oedd dyfod a'r achos fel hyn i amlygrwydd cyhoeddus hefyd yn gyflwyniad iddi yn ol i'r gymdeithas y bwriasid hi allan o honi o herwydd ei haflendid. Gwneid hyn oll gan yr Iesu mewn modd esmwyth, naturiol a serchog, fel cyfaill hawddgar. Yn wir, pan y mae efe fwyaf dynol y mae fwyaf dwyfol; pan yr ymddyrcha yn uchel, uchel, uwchlaw y dynol, dengys yr undeb agosaf a ni fel ein brawd a'n cyfaill goreu. Ni chyfarfyddodd y gallu i gynorthwyo dyn, a'r parodrwydd i gydymdeimlo â dyn ond yn Iesu Grist. Nid ydym i synied ddarfod i ymgnawdoliad Mab Duw ei wneyd yn fwy trugarog, yn fwy tirion, yn fwy parod i gydymdeimlo nag ydoedd cyn ymddangos yn y cnawd; eto dengys y Testament Newydd fod elfenau y ddynoliaeth wedi eu huno a'r priodoleddau dwyfol hyn, nad oeddynt mewn cysylltiad â hwy o'r blaen, ac anturiwn awgrymu os enillodd y ddynoliaeth lawer trwy ei dwyn i undeb dirgeledig a'r Duwdod, onid enillodd y

ddwyfoliaeth ryw beth hefyd trwy yr ymgnawdoliad? Nid ychwanegiad nac enill gwirionedd i'r priodoleddau dwyfol a feddyliwn, boed sicr, ond mantais i'r Duwdod ddod i gymdeithas a chydymdeimlad mwy agos a gwirioneddol a'r ddynoliaeth. Gwyddom na all un na bu erioed yn galaru wrth hebrwng perthynas agos i'r bedd, gydymdeimlo â mam yn dylyn ei mab, neu dad ei blentyn, yn gyffelyb fel un a fu trwy yr amgylchiad hwnw ei hunan. A pha fodd y gallasem ni ond trwy yr ymgnawdoliad, gael y Duwdod i gydddyoddef a'n gwendid ni fel pechaduriaid trallodedig? Diolch am yr ymgnawdoliad.

Tra y dygid yr ymddyddan yn mlaen ar yr heol rhwng yr Iesu a'r wraig, yr oedd ffydd Jairus yn myned o dan brawf tanllyd, er ar yr un pryd nad allai y wyrth fawreddig ar y wraig lai nag effeithio yn ffafriol ar ei feddwl. Yr oedd pob moment yn werthfawr yn ei olwg ef pan y gwyddai fod angeu yn prysur ysgwyd yr ychydig dywod olaf o awr-wydryn bywyd ei blentyn hoff. Ond er poethed y ffwrn, nid ydym yn cael fod ei ffydd yn diffygio. Pan ar yr heol cyn cyraedd y ty, daeth cenad i gyfarfod y tad yn hysbysu fod ei ferch wedi marw, ac mai ofer mwy oedd blino yr athraw. Yr oedd, fel y tybient hwy, wedi myned yn rhy ddiweddar. Meddent ddigon o ffydd, neu rywbeth tebyg iddi, i gredu pe buasai yr Iesu yn cael rhyw wreichionen o fywyd yn y ferch fach, y gallasai ei hanadlu yn fflam, eithr ni allent gredu y gallai efe adferu y wreichionen fywiol wedi iddi unwaith ddiffodd. Yr oedd ffydd a gobaith pawb oedd o amgylch Jairus wedi darfod, ac yr oedd ei ffydd yntau ei hun yn ddiau mewn perygl, oni buasai i'r Iesu ei nerthu

trwy ddweyd yn gyflym cyn i'r newydd drwg gael amser i effeithio arno, "Nac ofna, cred yn unig." Wedi cyrhaeddyd at dy y penaeth, cymerodd dri o'i ddysgyblion sef Pedr, Iago ac Ioan, y rhai a gadwai yn agos ato ar bob amgylchiad o bwys, gydag ef i mewn, gan adael y naw ereill oddiallan. Erbyn myned i'r ty yr oedd yn ddigon eglur fod yr eneth wedi marw er's yspaid o amser. Yr oedd y galarwyr llôg a'r cerddorion trystfawr, fyddent bob amser wrth law yn dysgwyl am waith, wedi dechreu ar eu twrw a'u galar dideimlad, ac ni fynent eu siomi o'u swydd. Ymddygent yn drahaus a sarug wrth yr Iesu pan y dywedodd nad oedd dim o eisiau eu gwasanaeth. Dywedai yr Iesu "Ni fu farw yr eneth, ond cysgu y mae." Arferir yr un gair ganddo am Lazarus, "Mae Lazarus yn huno"—pan yr ydoedd mewn gwirionedd wedi marw. Nid yw marwolaeth y naill na'r llall yn cael ei wadu, ond awgrymiad ydyw y dylynid marw ag adferiad buan i fywyd, fel y mae deffroad yn dylyn cwsg. Amcan yr Arglwydd Iesu yn dywedyd fel hyn, oedd nerthu ffydd y tad a'r fam drallodus, tra yr oedd yr holl wylo a'r llefain yn peryglu ei diffodd yn llwyr. Rhaid oedd cadw eu ffydd yn fyw cyn y gallasent gael eu plentyn yn fyw, ac i'r amcan hwn y defnyddiai y gair mwynaidd *cwsg* yn lle y gair pruddaidd *marw*.

Yna gyrodd allan o'r ty y dorf o alarwyr, am nad oeddynt yn dystion cymwys o'r fath wyrth fawreddig; ni buasai ond taflu perlau o flaen moch pe cawsent syllu ar yr olygfa. Rhydd yr efengylwr Marc, yn ol ei arferol fanylrwydd gyda ei ddarluniau, yr ymadrodd, "Talitha, cwmi," yn yr iaith y daethant dros wefusau yr Iesu, a hyny mae yn debyg am fod arben-

igrwydd ynddynt, yn nghyd a phrydferthwch hynod, ac yn dra phriodol y rhoddodd y cyfieithwyr Cymreig hwy i ni gyda'r cyfieithiad. Gyda swn y gair a chyffyrddiad llaw yr Iesu, cyfododd yr eneth o farw i fyw, ac yn gwbl iach. Rhodiai o amgylch fel arferol, gan ddangos i'w rhieni a phawb ei bod wedi ei hadfer iddynt fel cynt. Gorchymynai yr Arglwydd Iesu iddynt roddi bwyd iddi, er profi, medd rhai, ei bod yn wir yn fyw ac iach. Ond yr ydym yn methu ymddiosg o'r syniad fod yn ymddangos yma linell brydferth arall o gymeriad yr Iesu, sef ei dynerwch anfeidrol. Gwyddai ef fod eisiau bwyd angerddol ar y ferch fach, ac nid allai am foment oddef y meddwl ei bod yn dyoddef.

Pan yn dychwelyd o dy penaeth y synagog cawn i ddau ddeillion ddylyn yr Iesu, gan lefain, "Mab Dafydd, trugarha wrthym." Rhoddodd yntau eu ffydd i brawf trwy beidio gwneyd un sylw o honynt ar y cyntaf, ond wedi iddynt ei ddylyn at y ty yr arferai aros, gofynodd iddynt a oeddynt yn credu y gallai efe wneuthur hyn. "Ydym, Arglwydd," oedd ateb parod y trueiniaid. Dyma oedd telerau iachad bob amser, sef credu yn ei allu a'i drugaredd. Yna cyffyrddodd a'u llygaid a dywedodd, "Yn ol eich ffydd bydded i chwi." Teifl yr ymadrodd hwn oleuni cryf ar y cysylltiad sydd rhwng ffydd a derbyn rhoddion Duw, oblegid hi ydyw y piser aur sydd yn tynu dwfr o ffynonau iachawdwriaeth. Heb ffydd nis gall neb dynu dafn o'r ffynon hon byth. Wedi i'r ddau hyn droi allan wedi cael eu neges a'u llestri yn llawnion, dygwyd dyn mud cythreulig ato, a chafodd hwn eto y fendith a geisid gan ei gyfeillion ar ei ran,

Digon gwir yw y gair, "Pwy bynag a ddel, nis bwriaf ef allan ddim."

Y pryd yma gadawodd yr Arglwydd Iesu Capernaum a glanau mor Tiberias, gan gyfeirio ei gamrau tua Nazareth, i roddi un cynyg yn rhagor i'w hen gymydogion ar drysorau yr iachawdwriaeth. Yr oedd eu hanghrediniaeth yn atalfa i'w allu a'i ras lifeirio allan. Cablent a diystyrent ef, gan ddweyd, "Onid hwn ydyw mab y saer?" yn ol Matthew, neu "y saer" yn ol Marc fanwl. Hawdd y gallwn ni son am ynfydrwydd pobl Nazareth yn gwrthod Mab Duw fel hyn. Yr oeddynt yn ymddyrysu yn ei gylch, ni wyddent ac ni feddylient mai Mab Duw ydoedd, er y dylasent feddwl a gwybod hyny, oblegid gwelsent ef yn gwneuthur gweithredoedd nad allasai neb ond Duw eu gwneuthur. Gwyliwn rhag i anghrediniaeth a chalon-galedwch beri i ninau yr un modd ei wrthod. Bydd yn llawer iawn haws iddynt hwy sefyll yn ei wyneb yn y farn wedi ei wrthod nag fydd i ni os gwrthodwn ef. Yr oll a allai wneuthur yno oedd rhoddi ei ddwylaw ar ychydig gleifion ag oedd yn meddu gronyn o ffydd ynddo a'u hiachau.

Gorfu iddo droi ei gefn ar Nazareth anniolchgar ac annheilwng am y waith olaf am byth; a hawdd genym gredu fod ei galon dyner yn teimlo yn ddwys dros lawer wyneb a adwaenai er's blynyddau lawer, wrth orfod eu gadael i feirw yn eu pechodau. Aeth yn mlaen o Nazareth ar gylchdaith arall, sef y drydedd, trwy ddinasoedd a threfi Galilea, a'i ddysgyblion oll gydag ef, gan ddysgu y bobl a phregethu yn eu synagogau. Cyfarfyddwn a'r ymadrodd, "Gan iachau pob clefyd ac afiechyd yn mysg y bobl," yn fynych

gan yr efengylwyr. Gan fod y torfeydd oedd yn myned ac yn dyfod ato bron fel tonau y mor, a'r dinasoedd yn aml a phoblog, tu hwnt i un wlad, efallai, sydd ar y ddaear yn awr, a llaweroedd hefyd yn dyfod o bellder mawr o ffordd, a phawb a'u cleifion gyda hwy, mae yn naturiol i ni feddwl fod rhyw niferi mawr o'r rhai hyn wedi derbyn iechyd; eithr y mae cwmwl tew o ddirgelwch yn gorwedd ar hyn yn yr hanes. Ar ambell droad i'r hanes, gallwn synied mai ychydig a gredodd i'w ymadrodd ef; dim ond rhyw bum' cant a ddaeth yn nghyd i gyfarfod apwyntiedig i'w weled ar ol ei adgyfodiad. Nid ydym yn cyfarfod â'r credinwyr yn llengoedd, fel y gallesid dysgwyl, yn hanes yr eglwys yn llyfr yr Actau. Gallesid gofyn ar ddiwedd gweinidogaeth yr Iesu, "Pwy a gredodd i'n hymadrodd, ac i bwy y dadguddiwyd braich yr Arglwydd?" O'r tu arall mae yn anhawdd iawn synied y gallasai dynion dderbyn y fath gymwynasau mawrion oddiar ei law heb ei garu, ac yntau yn un mor hawddgar. Ond yr ydym bron yn cael ein gwasgu i gredu, er yn dra anfoddlawn, fod canoedd a dderbyniasant iechyd corfforol, wedi ei wrthod fel Gwaredwr. Mae yr ystyriaeth hon yn tarddu oddiar fod yn eglur i filoedd lawer dderbyn iechyd ag nad oes hanes am danynt mwy. Os oes rhyw lwybr arall i egluro hyn, byddai dda genym i ryw esboniwr ei ddangos.

Yr ydym yn awr o ran amseriad, dybygem, yn tynu i fisoedd olaf yr ail flwyddyn, ac at y trydydd pasc o weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu. Y pryd hwn efe a anfonodd ei ddeuddeg dysgybl allan i gyhoeddi fod teyrnas Dduw yn agos. Yr oedd-ynt i fyned bob yn ddau a dau. Yr oedd Judas Is-

cariot yn un o ryw ddau o honynt, ac yn ddigon tebyg y pregethwr mwyaf selog a hyawdl o'r ddau, heb neb yn ei ofni nac yn ei ameu, na neb yn ei adwaen trwyddo ond yr Iesu. I roddi pob boddlonrwydd i bawb lle delai y dysgyblion, fod eu cenadwri yn wirionedd pwysig, rhoddodd eu Hathraw awdurdod iddynt i iachâu y cleifion a bwrw allan gythreuliaid, gwneyd gwyrthiau yn ei enw ef, yn gyffelyb i'r gweithredoedd nerthol a gyflawnid ganddo ef ei hunan. Yr oedd hyn yn bwysig, ac yn fanteisiol iawn i'w gwrandawyr. Cyfarwyddodd yr Iesu hwynt yn fanwl pa fodd i ymddwyn ar eu teithiau ac yn eu gwaith; i beidio llwytho eu hunain â phethau diangenrhaid, dim ond y wisg oedd am danynt a ffon yn eu llaw, fel dynion egniol, parod i deithio a gweithio. Nid oeddynt i wneyd nemawr o gyfeillach â neb, ond cyhoeddi eu cenadwri ddifrifol a gwerthfawr. Pan ddelent i mewn i ddinas, ac wedi cael ymborth angenrheidiol a llety, gan bwy bynag a glywai ar ei galon estyn hyn iddynt, yna aent yn mlaen heb golli dim amser i ddinas arall, heb ddysgwyl rhyw lawer o groesaw gan neb mwy nag yr oedd yr Iesu ei hun yn ei gael, eithr yn hytrach dirmyg ac anmharch. Yna cyhoeddodd yr Iesu y gwaeau mwyaf arswydus uwch ben y dinasoedd a'r trefydd a wrthodent y genadwri. Trodd y deuddeg allan yn ddioed gan gyhoeddi y genadwri yn ffyddlawn. Yr oeddynt i gadw o fewn cylch y genedl Iuddewig, i ymatal rhag myned i mewn i ddinasoedd y cenedloedd, nac at y Samariaid. Tarddai y gwaharddiad hwn, feddyliem, nid oddiar fod yr Iesu yn ddifater am iachawdwriaeth y Samaritan a'r pagan truan, ond yn hytrach am nad oedd y dysgyblion eto yn

gymwys o gwbl i bregéthu yr efengyl; oblegid nid oeddynt yn ei deall nac yn ei hadnabod eu hunain, ond i radd anmherffaith iawn, a buasent felly yn gwneyd mwy o niwed nag o les. Eu neges bwysig hwy yn awr oedd rhoddi gwybod i holl gorff y genedl Iuddewig trwy bob congl o'r wlad, fod teyrnas Dduw wedi nesau, fod y Messiah wedi dyfod, a chodi awydd yn y bobl i ddyfod allan i'w weled a'i glywed. Nid peth bach oedd cael golwg ar berson y Duw-ddyn, cofier.

Gallem feddwl fod y cyfarwyddiadau a roddodd efe iddynt ar gyfer y daith yn cyrhaeddyd yn mhellach nag yn unig ar gyfer y daith hon trwy Galilea, oblegid nid oedd yn debyg y cawsent eu herlid a'u rhwygo fel defaid gan fleiddiaid y waith hon. Yr oedd yma ragolwg ar y dyfodol, ac yr oedd y cyfarwyddiadau hyn gan mwyaf yn fwy cymwys i'r amser ar ol adgyfodiad Crist nag i'r adeg hon. Caent brofi efallai ryw gymaint o hyn yn awr, ond nid ei rym. Yr oedd y daith hon yn fwy o ragbarotoad i'r dysgyblion at eu gorchwyl mawr o gyhoeddi y newydd am y gwaed ar ol y tywelltid ef ar Galfaria, nag oedd o foddion gras yn awr i breswylwyr Galilea, er ei fod yn werthfawr iddynt glywed fod y Messiah wedi dyfod, fel na byddai iddynt ymadael o'r byd heb gael cyfle i'w glywed a'i weled; buasai hyn yn resyn, ac yntau yn eu gwlad, ac yn araf gerdded trwy eu dinasoedd ar ol ei genadon, fel nad oedd raid i neb fyned yn mhell oddi cartref i'r dyben hwnw. Nid ydym yn gallu canfod i sicrwydd pa hyd y buont allan; o gylch chwech wythnos, efallai. Erbyn iddynt ddychwelyd yn ol i ardal mor Tiberias yr oedd gwyl y pasg yn nesau. Yr oedd y dir-

iogaeth y buont yn cyniwair trwyddi, dan lywodraeth Herod Antipas, yr hwn ar gais ei buteinwraig a dorasai ben Ioan Fedyddiwr. Yr oedd y "cadno" hwnw yn Saducead deistaidd o ran ei farn, ond ei fod yn pen-ddyrysu, feddyliem. Yr oedd gwaed Ioan onest ar ei ddwylaw a'i gydwybod yn llosgi fel "marwor meryw," ac yn gwbl groes i'w egwyddorion, dychymygai fod Ioan wedi codi o'i fedd, ac y byddai yn debyg o ddial arno. Dymunai yn fawr weled yr Iesu, a hyny, hwyrach, er cael boddlonrwydd i'w feddwl mai nid Ioan ydoedd, fel y dywedai rhai o'i bobl wrtho; eithr ni roddai yr Iesu gymaint a hyny o foddlonrwydd i greadur mor frwnt.

Ymddengys fod y dysgyblion erbyn hyn wedi gorphen eu gwaith a'u teithiau, a bron wedi llwyr wisgo allan eu nerth, ac angen mawr am ychydig orphwysdra. Anhawdd iawn ydoedd cael hyny oblegid y lluoedd oedd yn dylyn eu Hathraw, bron ddydd a nos. Ond yr Iesu o'i ofal am danynt a ymneillduodd i le anghyfanedd fel y caent gysgu a gorphwys ychydig. Aethant dros lyn Genesareth, yn agos i'r pen gogleddol iddo, i'r wlad tu hwnt i'r Iorddonen, i'r dyben hwn, ond yr oedd yn anhawdd iddynt symud cam i un man heb fod rhyw un a'i lygad arnynt, a thaenid y gair ar led gyda y cyflymder mwyaf pa le y byddent, a chyda eu bod yn y man lle y gobeithient gael gorphwys, wele y torfeydd hefyd yno ar eu hol. Dywed Marc, y darluniwr amgylchiadau, fod y bobl yn rhedeg ar draed o'r dinasoedd, ac wedi cyrhaeddyd y fan o flaen yr Iesu a'i ddysgyblion.

Fel y soniwyd, yr oedd y trydydd pasg yn awr wrth y drws, a lluaws o bobl, efallai, wedi cychwyn oddi

cartref a'u hwynebau tua Jerusalem i'r wyl, a'r wlad yn gyffredin wedi rhoddi heibio eu gorchwylion ar gyfer y pasg. Chwyddai hyn y torfeydd nes eu gwneyd fel afon lifeiriol. Yr oedd y teithwyr tua'r wyl wedi cymeryd eu dogn arferol o ymborth yn eu llestri i gyraedd Jerusalem, ond erbyn troi filltiroedd o'r neilldu ac aros i wrando yr Iesu, yr oedd eu llestri bwyd wedi myned yn weigion. Dysgwylient, efallai, fod yr Iesu yn myned i'r wyl ac y cawsent ei ddylyn am yn agos i gan' milltir o ffordd. Ond y mae yn lled amlwg, feddyliem, nad aeth efe i'r pasg hwn o gwbl, o herwydd fod yr Iuddewon yn Jerusalem yn ceisio ei ladd ef, ac nid oedd ei awr ef wedi dyfod eto i roddi ei hun i fyny yn aberth. Yr oedd ganddo eto flwyddyn gron o lafur caled cyn i hyny gymeryd lle. Bwriadai farw mewn pryd dros yr annuwiol; ond yr oedd y "pryd" hwnw heb ddod i fyny. Yn ol y tri efengylwyr cyntaf aeth y dysgyblion at yr Iesu gan ofyn iddo ollwng y dorf ymaith fel y gallent fyned i'r trefydd o amgylch am ymborth a llety. Ond yn ol Ioan, yr Iesu ei hun a soniodd gyntaf am ymborth, trwy ofyn i Phylip, o ba le y caent fara fel y gallent roddi lluniaeth i'r bobl. Gall fod yr ymddyddan â Phylip wedi cymeryd lle yn gynar yn y prydnawn, i roddi mantais iddo ef a'i gyd-ddysgyblion drafod y peth yn eu mysg eu hunain, fel ag i'w parotoi i edrych ar y wyrth y bwriadai efe ei chyflawni. Gwasgodd y peth yn nes, trwy ddywedyd wrthynt hwy am roddi peth iddynt i'w fwyta. "A awn ni," meddent hwythau, "a phrynu gwerth dau can' ceiniog o fara a'i roddi iddynt i'w fwyta?" Gellir barnu wrth eu llais nad allent hwy godi y fath swm rhyngddynt oll, pe buasai bara i'w

gael am arian. Sonia yr efengylwyr cyntaf am bum' torth a dau bysgodyn fel yn eiddo iddynt hwy, ond dywed Ioan eu bod yn perthyn i ryw fachgenyn oedd yn y dorf. Tebygol i'r dysgyblion, wedi i'r son cyntaf fyned allan am ymborth, eu prynu gan y bachgen. Gyda'r ychydig ymborth cyffredin hwn mae y Duw-ddyn yn cymeryd arno ei hun roddi gwledd i'r dorf fawr, a dywedai wrth y dysgyblion am eu gorchymyn oll i eistedd ar y glaswellt—lle dymunol i'r pen i ledor-wedd arno yn y tymor hwn o'r flwyddyn; a sylwa Marc ac Ioan fod llawer o laswellt yn y fan hono. Rhydd Marc gyffyrddiad prydferth arall i'r darlun, sef fod y bobl wedi eu trefnu i eistedd bob yn ddeg-a-deugain, a phob yn gant; fel hyn atelid pob annhrefn, a sicrheid i'r gweiniaid, y gwragedd a'r plant, bob chwareu teg. Yr oedd yn hawdd i'r dysgyblion hefyd gerdded rhyngddynt ac estyn yr ymborth yn drefnus heb esgeuluso neb. Heb ryw drefn fel hyn, buasai yn anhawdd iawn rhanu y bwyd yn rheolaidd. Yr Arglwydd Iesu fel penteulu mawr a fendithiodd y tamaid hwn yn gy-hoeddus, cyn ei ranu, a'r canlyniad fu, cafodd pob safn yn y dorf ei llenwi, y ferch fechan, wan, yswil, yn gystal a'r dyn cryf, oblegid nid oedd raid i neb ond estyn ei law i'w dderbyn, a diameu genym na chaw-sant well pryd o fwyd yn eu hoes. Wedi iddynt oll gael eu diwallu, gorchymynodd yr Iesu i'r dysgyblion gasglu y gweddill. Yr oedd fod gweddill yn brawf fod pawb wedi eu llawn ddigoni, ac yr oedd y gwedd-ill hefyd yn llawer iawn mwy nag oedd yr oll yn y dechreu. Yma yr oedd cynildeb priodol o drugar-eddau Duw yn cydgerdded yn brydferth â haelioni,

Mae yr efengylwr Ioan yn dueddol i gadw llygad ar effeithiau y gweithredoedd nerthol hyn ar y torfeydd. Tybient hwy yn awr eu bod yn canfod yn yr Iesu y proffwyd y rhagddywedodd Moses am dano, Deut. 18:15, ac ar gynyrfiad y foment, mynent ei wneyd yn frenin ar Israel, i fyned allan o flaen eu byddinoedd. Nid y gallu a ddangosodd, efallai, a'u cynhyrfodd i hyn yn gymaint a natur y wyrth. Dysgwylient, meddir, wyrthiau o'r fath yma gan y Messiah; fel y rhoddodd Moses iddynt y manna o'r nef, felly y gwnai y Gwaredwr dysgwyliedig. Ond wedi i'r cynwrf a achosid gan y wyrth lonyddu ychydig, cawn ddarfod i rai o honynt o leiaf ei chydmaru yn anffafriol a'r eiddo Moses, er iselhau yr Iesu yn ngolwg y bobl. Rhoddodd Moses fanna o'r nef i holl filoedd Israel am ddeugain mlynedd, ond awgryment mai bara haidd cyffredin i ychydig filoedd am un pryd a roddodd yr Iesu. Fel yna ymresyment, er boddlonrwydd iddynt eu hunain, mai nid efe oedd y Messiah a feddai hawl i'w ceryddu a'u llywodraethu hwy. A dyma y diolch a gafodd yr Iesu am ei garedigrwydd yn cadw miloedd o bobl rhag llewygu.

Wedi i bawb ddarfod bwyta, a chasglu o honynt y gweddill i fyny, prysurodd yr Iesu i anfon ei ddysgyblion i lestr i groesi y mor yn ol i Capernaum; yn ol y Saesneg gorfododd hwy. Gwyddai y dysgyblion yn ddiau am siarad y dorf i'w wneyd yn frenin, a thebygol yr hoffent y cynyg, a dyma yr achos, feddyliem, iddo eu prysuro ymaith o gyraedd y brofedigaeth. Eithr trodd efe ei hun ei wyneb ffordd arall, sef tua'r mynydd, i weddio. Wedi i'r dysgyblion rwyfo o gylch tair milltir, cododd gwynt cryf nes peri ei bod yn flin

iawn, os nad yn beryglus arnynt. Dywed Marc fod yr Iesu yn eu gweled yn flin arnynt yn rhwyfo. Prin mae yn debyg y gallasai ei lygad naturiol eu canfod o'r pellder yr oedd efe oddiwrthynt, er fod y lleuad agos yn llawn ar y pryd. Modd bynag cyfeiriodd yr Iesu atynt, gan rodio ar wyneb y mor megys ar dir sych, yn nghanol y gwynt a'r tonau. Canfu y gwyr ef o'r llestr, a thybient mai drychiolaeth ydoedd. Dywed Chrysostom fod yr Arglwydd Iesu yn raddol yn dwyn ei ddysgyblion i fwy o oleuni am dano ei hun. Yn y dymestl y buont ynddi o'r blaen yr oedd efe gyda hwynt; er ei fod yn cysgu ar y pryd teimlent ei fod rhyngddynt a'r gwaethaf. Ond mynai iddynt beidio glynu cymaint wrth ei bresenoldeb corfforol, fel yr iddwf wrth y dderwen, a'r waith hon rhoddodd hwy yn y perygl eu hunain, fel y fam-aderyn yn gweithio ei rhai bach dros y nyth er eu dysgu a'u harfer i ddefnyddio eu hadenydd. Fel hyn y cryfhâi efe eu hymddiried am gymorth yn y dyfodol. Gan fod ei waith yn rhodio ar y mor yn beth cwbl annysgwyliadwy ac annirnadwy iddynt, teimlent yn eu cyfyngder yn gwbl anobeithiol am ddim cymorth oddiwrtho; ond yr oedd efe wrth law erbyn taro.

Mae yn anhawdd peidio sylwi ar wedd arwyddocaol yr amgylchiad hynod hwn. Fel yr oedd y cwch bach ar y morlyn tymestlog peryglus, felly yn fynych y mae eglwys Dduw ar for tymestlog y byd, fel pe na byddai ei Duw gyda hi nac yn gwneyd un sylw o honi. Eto y mae efe ar y bryn gerllaw, a phob amser a'i lygad arni. Mae yr Iesu ar y mynydd yn gweddio, yn eiriol drosti, a phan y byddo gwir berygl mae efe yn wastad gerllaw, ac yn barod i ddweyd, "Cymer-

wch gysur, myfi yw, nac ofnwch." Matthew yn unig sydd yn dod a Phedr i'r golwg yma. "Os tydi yw," meddai, "arch i mi ddod atat ar y dyfroedd." Nid *os* o amheuaeth ydyw, mae'n ddiau; buasai hyny yn fwy naturiol i Thomas nag i Pedr. Gan mai ti yw, a feddyliai Pedr, arch i mi ddod atat ti. Yr oedd yno gynhyrfiad cryf a dymuniad o fod gyda'r Iesu, a mynai hefyd, feddyliem, ddangos tipyn o'r arwr, i wneyd i fyny am y waedd o ddychryn ychydig yn ol. Yr un llinell o nodweddiad Pedr sydd yn dod i'r golwg a phan y dywedodd, "Pe rhwystrid pawb, ni'm rhwystrid i." Mynai gael y blaen ar ei gyfeillion. Mae yn ddifyr sylwi fel yr oedd yr Iesu yn deall y dyn, yn canfod gweithrediadau ei enaid, ac yn ngoleuni yr Iesu, gallwn ninau ganfod yn bur glir. "Tyred," meddai wrtho; pe buasai yn gorchymyn iddo aros yn y llestr, gan roddi gocheliad iddo y buasai yn bur debyg o foddi, os anturiai ar y dyfroedd, buasai yn llethu ysbryd ei ddysgybl, ac yn rhoddi gwrthyriad poenus i'w sel danbaid, yr hon wedi ei phuro a fyddai yn foddion i'w gario yn mlaen yn wrol gyda gwaith ei Arglwydd. Yr oedd cyflawni y gamp o rodio ar wyneb y dyfroedd yn ymddibynu yn gwbl ar ei ymddiried yn ei Arglwydd. Gwyddai yr Iesu y canlyniad, ond nid oedd wedi rhwymo ei hun am dano, dim ond rhoddi caniatad i Pedr ddyfod os oedd yn dewis. Yr oedd gormod o hyder cnawdol yn gymysgedig â ffydd Simon. Cyhyd ag y cadwai ei lygad yn deg ar ei Arglwydd, cerddai yn hwylus, ond pan ddechreuodd edrych ar y tonau oedd yn ymgodi ac yn rhuo o'i gwmpas, yn lle ar ei athraw, dechreuodd ofni, ac yn y man dechreuodd suddo. Wele y dyn a fynai ddangos

ei ffydd gref a'i bod yn rhagori ar ffydd Iago ac Ioan a phawb, yn awr yn gorfod cydnabod o'u blaen oll wendid ei ffydd, a bu dda iawn iddo fod cymorth wrth law, onide buasai ef a'i ffydd yn fuan yn y gwaelod. Gallwn feddwl yn naturiol i'r dysgyblion gael tipyn o ddifyrwch diniwed ar draul Pedr y waith hon, ac nid ydyw yn debyg ei fod yn hoffi son llawer am ei gamp trwsgl ar ol hyn. Y mae y ddolef gyffrous, "Arglwydd, cadw fi," yn cael ei hateb yn y man; ie, mor dyner ydyw y cerydd, sef, "paham y petrusaist?" nid paham y daethost o'r llong, nid tori i lawr ei ysbryd tanbaid, ond yn hytrach ei borthi, a dangos pa fodd y gallasai gyflawni y gamp yn brydferth, er parch iddo ei hun a gogoniant ei Feistr, sef dim ond ymddiried, dim ond gweithredu ffydd ar yr Iesu, a gallasai sathru tonau y mor. Rhoddodd yr Iesu yn dirion gymaint a hyny o wers iddo, fel pe dywedasai, Cyn i ofnau afael yn dy ysbryd yr oeddit yn rhodio y tonau, ac wedi nerthu dy ffydd yr wyt yn gallu gwneuthur hyny eto. Oni weli di fod pobpeth yn bosibl i'r hwn a gredo? Gallwn fod yn sicr mai ychydig o awydd edrych o'i gwmpas oedd ar Pedr wrth gerdded yn llaw ei Feistr tua'r llong.

Wedi i'r Arglwydd Iesu fyned ar y bwrdd, tawelodd y gwynt a llonyddodd y mor yn y man, ac yn ebrwydd yr oeddynt wrth y tir. Tir Genesaret oedd y man y glaniasant. Wedi i'r bobl ddeall fod yr Iesu yno, cerddodd y newydd yn gyflym trwy yr holl fro, ac ymddengys fod gan y brodorion lawer o ymddiried ynddo, fel iachawr clefydau beth bynag, oblegid aethant trwy y gymydogaeth gan gasglu yn nghyd yr holl rai cleifion, a llawer o honynt mor ddrwg eu cyflwr

fel y gorfyddid eu dwyn ar welyau; a meddylient gymaint o'r Iesu fel yr oedd cael dim ond cyffwrdd a'i wisg ef yn ddigon ganddynt, ac yn ddigon iddynt hefyd am iechyd. Llona ysbryd y darllenydd i weled ambell ardal yn ymddiried ynddo ac yn talu parch fel hyn iddo. Boreu dranoeth, sef ar ol porthi y pum'-mil, tu hwnt i'r mor, gwelodd y bobl ei golli. Gwyddent fod y dysgyblion wedi cymeryd llestr i groesi y llyn, a gwyddent hefyd nad aethai yr Iesu gyda hwynt, ond barnent am nad oedd i'w gael yno ei fod ryw fodd wedi myned yr ochr arall ar ol ei ganlynwyr, a chan hyny prysurasant yn lluoedd ar ei ol, ac wedi iddynt ei gael, dechreuasant ei holi pa bryd a pha fodd y daethai drosodd. Ond yn lle ateb yr holiadau hyfion hyn, traddododd iddynt y rhybuddion a'r cyngorion a gawn yn y chweched benod o efengyl Ioan. Profodd ei athrawiaeth mor annerbyniol gan y bobl fel y darfu i luaws o rai a elwid yn ddysgyblion, er nad oedd y deuddeg yn eu mysg, droi yn ol a'i adael.

## PENNOD XV.

*Bwyta a dwylaw heb olchi—Tueddau Tyrus a Sidon—Y wraig o Ganaan a'i merch—Decapolis.*

Aeth y miloedd tua Jerusalem i wyl y pasg, ond mae yn lled sicr, fel y crybwyllwyd eisoes, nad aeth efe i fyny i'r wyl hon. Canfyddai na allai wneuthur daioni yno, o herwydd cynddaredd blaenoriaid y genedl yn ei erbyn. Y pryd hwn daeth rhai o Ysgrifenyddion Jerusalem, y rhai oeddynt yn feunyddiol ar ei ledol, yn mlaen i argyhoeddi ei ddysgyblion am droseddu traddodiad y tadau trwy fwyta â dwylaw heb eu golchi. Os nad oedd eu dwylaw yn lân, mae yn sicr y dylasent ar bob cyfrif eu golchi cyn myned at y bwrdd; ac yn fwy felly am mai arfer y wlad oedd defnyddio eu bysedd i drafod y bwyd, ac nid gyda'r gyllell, y fforc a'r llwy, fel y gwnawn ni. Ond er bod y dwylaw mor laned ac mor wyned a'r eira, yr oedd yn rhaid, meddent hwy, eu golchi oddiar egwyddor grefyddol cyn bwyta. Ergyd ar yr Iesu trwy ei ddysgyblion oedd hon. Dull digon anwraidd ydoedd o daflu allan awgrymiadau cas. Os oeddynt o gydwybod yn amddiffyn egwyddorion pwysig, paham nad aethent at yr Athraw ei hun i ofyn am eglurhad? Y mae gwedd ddirmygus i'w ganfod ar y dynion hyn; dynion wedi eu dwyn i fyny yn ninas freninol y genedl, yn perthyn i'w theuluoedd cyfoethocaf, wedi eu coethi â dysgeidiaeth uchel, yn ddynion mewn addfedrwydd oedran, ac amryw o honynt gyda eu gilydd i gydymgynghori. Yr Iesu oedd wr ieuanc syml, heb ei ddwyn i fyny dan addysg Rabbinaidd, eithr wedi

bod yn dylyn crefft lafurus i enill ei fara, ac wedi treulio yr oll o foreu ei oes mewn pentref gwledig nad oedd yn enwog am ddim ond am iselder moes ei breswylwyr, eto cawn y dynion hyn yn dylyn ar ei ledol, gan roddi ergyd ar ei ddysgyblion diddysg pa le bynag y caent gyfle, gyda'r amcan o gyraedd ei gymeriad ef trwyddynt. Galwent ef, er ei iselhau, yn saer, yn fab saer, ac yn frawd i ryw Simon a Judas. Ond os oedd efe "y diystyraf o'r gwyr" fel y mynent hwy ei fod, a hwythau eu hunain yn brif ddynion y genedl, paham yr oeddynt yn arswydo sefyll fel gwyr a'i wrthwynebu yn ei wyneb? Gwyddent yn amgen trwy brofiad; gwyddent fod yr Iesu yn rhyw un mawr, ac yr oeddynt yn ei ofni a'i gasâu o herwydd fod ei fywyd pur a sanctaidd yn gosod eu hansancteiddrwydd hwy allan mewn lliwiau mor gryfion o flaen y bobl. Yr oeddynt fel hyn yn talu y parch uchaf iddo ag oedd yn bosibl. Cymerodd efe y boneddwyr hyn mewn llaw a rhoddodd wers bwysig iddynt. Dywedai yn eu hwyneb mai dynion diegwyddor a rhagrithiol oeddynt, er eu holl ymddangosiadau teg a'u proffes o sancteiddrwydd. Canfyddir ei ymadroddion ar y pryd yn Matthew 15 a Marc 7.

Wedi yr ymddyddan hwn gadawodd hwy, a chyfeiriodd ei wyneb tua thueddau Tyrus a Sidon. Er fod y dinasoedd hyn yn y rhandir a berthynai gynt i lwyth Aser, yr oeddynt er ys llawer oes yn perthyn i Syria, ac yn cael eu trigianu bron yn gwbl gan y cenedloedd paganaidd. Nid aeth yr Iesu, mae yn eglur, i un o'r dinasoedd hyn, ac ni ddarfu iddo erioed roddi ei droed oddiar dir Israel. Aeth i mewn i dy yn y tueddau hyn, ac ni fynai i neb wybod ei fod yno, ond

fel y mae arogl hyfryd yr enaint yn bradychu ei bresenoldeb, felly yr oedd ei enw ef fel yr enaint tywalltedig; nis gellid ei guddio. Yn mysg y rhai a dynwyd at yr Iesu yr oedd gwraig, weddw mae'n debyg, o'r wlad hono, yr hon yr oedd ei merch fechan yn ddrwg ei hwyl gan gythraul. Gwraig o Ganaan y gelwir hi gan Matthew, Syropheniciad o genedl, gan Marc. Dengys Matthew mai paganes o ran ei chrefydd ydoedd, ac nid Iuddewes, a dengys Marc ei tharddiad cenedlig, ei bod o epil y rhai oedd wedi eu diofrydu i ddinystr; fel hyn edrychai yn dywyll ac anobeithiol arni, eto ni chymerai ei hatal heb roddi cais teg am yr hyn yr oedd ei henaid yn ei ddymuno mor fawr. Clywsai mae yn debyg, lawer am garedigrwydd a gweithredoedd nerthol Gwaredwr Israel. Yr oedd ei glod ef wedi cyraedd Syria, fel ag i dynu y cleifion ato i dir Israel, a thebygol hefyd iddi dderbyn yr hanes am dano o enau rhai oedd eu hunain wedi derbyn iechyd o'i law. Yr oedd gan y wraig gymwynas fawr i'w gofyn i'r Iesu; blinid ei merch anwyl gan gythraul. Ond wedi iddi ddweyd ei neges, cafodd ef ar y cyntaf yn dra gwahanol i'r hyn oedd wedi ei glywed am dano yn ei gwlad, sef ei fod yn llawn tosturi, yn garedig wrth bawb, yn gwella pawb, heb sathru y gorsen ysig na diffodd llin yn mygu. Pan roddodd hi ei chwyn o'i flaen nid atebodd iddi un gair; yr oedd y ffynon fawr wedi ei selio fel nad allai dynu dafn o ddwfr o honi; y physygwr yn atal ei feddyginiaeth. Eithr para i alw yr oedd hi, a bob yn ronyn blinwyd y dysgyblion gan ei swn a'i thaerineb, ac ymddangosent ar hyn o bryd yn fwy trugarog na'u meistr. "Gollwng hi ymaith," meddent, "a danfon hi i ffordd,

y mae hi yn tynu sylw y bobl arnat, a thithau eisiau bod yn anghyoedd." Nid oedd y bechgyn ychwaith, dybygem, am iddo ei hanfon ymaith heb ei neges, eto yn ysbryd hunanol y gwr hwnw a gyfranai rhag cael ei syfrdanu, y dadleuai y dysgyblion druain. Dystawodd yr Iesu hwy ag ymadrodd oedd yn debyg o daro anobaith i galon y wraig druan, sef, "Ni'm danfonwyd i ond at ddefaid cyfrgolledig ty Israel." Ond un graff ei llygad oedd hi, rhodd heibio yr ymadrodd "Mab Dafydd" fel enw ar un yn perthyn i'r genedl ddewisedig, a chymerodd yr enw eang "Arglwydd," gan awgrymu y gallasai felly helpu y neb a ewyllysiai ei hun.

O'r diwedd mae megys yn cael ei sylw. Credai y wraig yn ei chalon fod mwy o dynerwch yn yr Iesu tuag ati nag oedd yn ei ddewis ddangos, a'r grediniaeth yma oedd yn ei chario trwy bob rhwystr, hyn a'i gwnai mor daer, ac yn wir hyn oedd yn boddhau yr Iesu mor fawr, oblegid mae efe yn hyn fel ninau, ddarllenydd, yn mawr hoffi fod rhai yn rhoddi ymddiried ynom. Hyn hefyd a dynodd y gair gwerthfawr oddiwrth yr Iesu, "O wraig, mawr yw dy ffydd, bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio." Ond i fyn'd haner cam yn ol, wedi cael ei sylw fel y tybiai am y waith gyntaf, syrthiodd i lawr gan ei addoli, a dyna'r adeg y dywedodd y gair cyntaf wrthi, a hwnw yn fwy anghysurus na'r dystawrwydd blaenorol, sef, "Nid cymwys cymeryd bara y plant a'i daflu i'r cenawon cwn"—gair yn tori i'r byw, oblegid ni sonir am y cwn yn yr ysgrythyrau ond gyda chyfeiriad at eu natur wancus, waedlyd a chiaidd. Er nad oedd ffyddlondeb a charedigrwydd yr anifail yn anhysbys yn y cynoesoedd, nid ydyw

byth yn cael ei ddwyn allan yn y Beibl. Y plant oedd cenedl Israel, plant y deyrnas; er fod yr Iesu yn llefaru yn llym wrthynt, siaradai yn barchus am danynt wrth ddyeithriaid. Buasai ymadrodd caled yr Iesu yn ddigon i daro llawer un i anobaith, eithr daliodd hi ei gafael yn y gair oedd fwyaf yn ei herbyn, gan ei droi yn ddadl o blaid ei chais. "Gwir, Arglwydd, ond y mae y cwn yn bwyta o'r briwsion sydd yn disgyn oddiar fwrdd eu harglwydd." Ar yr ymadrodd hwn sylwai Luther, yr hwn ni flinai byth ganmol ffydd y wraig hon, "Dyma ergyd meistrolaidd, y mae hi yn maglu yr Iesu yn ei ymadrodd ei hun; fel pe y dywedasai, 'Y cwn a ddywedaist, yr wyf yn eithaf boddlawn i'r enw, a'r lle iselaf, o dan y bwrdd. Nid rhan y plant yr wyf yn ei ofyn, eto rhan er hyny. Yr wyt yn ol dy ymadrodd dy hun, Arglwydd, yn dod a ninau y cwn i'r cylch y mae Duw yn cyfranu ei fendithion, yr ydym ninau yn perthyn i'r tylwyth ac yn cael ein tamaid yn eu mysg, er o dan y bwrdd. Y mae y Cynaliwr mawr yn hulio y bwrdd ar gyfer pawb, y plant o'i gylch a'r cwn odditano.'"

Bellach y mae hi fel Jacob wedi llwyr orchfygu, a'r gair nesaf ydyw, "Bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio." Ar y cyntaf ymddengys yr Iesu fel am nacau y gronyn lleiaf iddi; ond yn awr agorai ddrws trysordy rhad ras, gan erchi iddi fyn'd i mewn a chymeryd yr oll a ewyllysiai, fel Joseph tuag at ei frodyr. Llefarai yn arw ar y cyntaf i'w phrofi a thynu allan ei ffydd, ond ni wnaeth hyn foment yn hwy nag oedd o les iddi hi. Cyn gadael yr hanes ymgyfyd holiad difrifol o flaen y meddwl, paham na buasai yr Iesu tirion yn arbed y blinder hwn i'r wraig? Paham yr ymddygodd

mor wahanol ati hi ragor at ereill mewn cyffelyb amgylchiadau? Weithiau rhagflaenai y gofyniad am drugaredd drwy ofyn "A fynai di dy wneuthur yn iach?" Bryd arall, ar waith y claf yn gofyn, "Os myni ti a elli fy nglanhau," yr ateb fyddai, "Mynaf, bydd lân." Yr achos o hyn efallai oedd, y gwyddai ef y daliai ei ffydd i'w phrofi yn danllyd ac y deuai allan yn fuddugol o'r prawf, yr ai tuag adref gyda ffydd gryfach na phe buasai yn derbyn y fendith ar yr archiad cyntaf. A oes, tybed, yn mysg ein cenedl ni berchen ffydd a ddeil driniaeth fel hon? Nis gallwn weled iddi roddi ffordd am foment nes cyraedd ei hamcan. Etyb hanes y wraig o Ganaan ddyben pwysig iawn, sef i fod yn dystiolaeth i'r byd trwy holl oesoedd dyfodol amser o sicrwydd llwyddiant gweddi ffydd, hyd yn nod yn y pechadur mwyaf annheilwng.

Ni arosodd yr Arglwydd Iesu yn hir yn y gororau hyn, eithr dychwelodd tua chyfeiriad mor Galilea. Yr oedd ei elynion ar eu gwyliadwriaeth am dano, ac am hyny dewisodd ef am dymor ymgadw yn neillduedig. Aeth i wlad fryniog i'r gogledd-ddwyrain o fôr Galilea. Yr oedd yn yr ardaloedd hyn ddeg o ddinasoedd oeddynt wedi derbyn rhagorfreintiau gwladol arbenig gan y Rhufeiniaid pan y goresgynwyd Syria ganddynt. Gelwid y dinasoedd hyn Decapolis, a phreswylid hwy gan genedloedd paganaidd bron yn gwbl. Ymddengys i'r gwr o Gadara y buasai y lleng cythreuliaid ynddo, fod yn pregethu yr Iesu trwy y dinasoedd a'r cymydogaethau hyn, a heidiodd dynion yr ardaloedd wrth y miloedd ato, er mai paganiaid oeddynt, a deuent a'u cleifion gyda hwy am iachad.

Er yr ymddengys fod yr Arglwydd Iesu wedi ym-

neillduo yma er mwyn ychydig adnewyddiad natur iddo ef a'i ddysgyblion, ac hefyd er bod o gyraedd ei elynion, ac o'r tu allan i'w llywodraeth, eto mae yn eglur fod ymdrech yn ei enaid sanctaidd, caredig, rhwng ymgadw o gyraedd peryglon oedd yn ei amgylchynu yn ngwlad Israel, a'r drugaredd oedd megys yn ffrydio o'i fynwes am wneyd lles i ddynion. O fysg y lluaws cleifion noda Marc un neillduol, sef dyn mud a byddar. Dygodd ei garedigion ef ger bron gan ddeisyf iddo roddi ei ddwylaw arno, eithr nid felly yn gymwys y dewisodd wneyd. Mae y wyrth hon yn un hynod, o herwydd yr ymddangosiad o ymdrech a gymerodd yr Iesu i'w chyflawni. Fel y soniwyd eisoes yr oedd ystyr ddwfn i'r amrywiaeth a ddefnyddid ganddo wrth iachau y cleifion, a digon tebyg fod i hon ystyr arwyddocaol o'r moddau y mae yn ymgeleddu pechaduriaid trwy ei Ysbryd. Arweiniai un o'r dorf, a'r llall o'r ddinas, cyn gweinyddu iachawdwriaeth arnynt; gwellheid un â gair, a'r llall a chyffyrddiad, un arall a orchymynid i lyn Siloam i ymolchi. Nid ydym beth bynag i roddi terfyn i allu yr Iesu, ond y terfyn a osododd efe iddo ei hun. Yr oedd ansawdd foesol ac ysbrydol y gwahanol gleifion oedd yn dyfod o'i flaen yn galw am hyn, a'n hanwybodaeth ni ydyw yr achos ein bod yn methu canfod doethineb y Meddyg Mawr yn yr amrywiaeth triniaethau hyn. Yn achos y dyn hwn yr oedd yr holl synwyrau wedi eu cloi i fyny ond y golwg yn unig, ac yr oedd yr Iesu yn y wedd hon yn dihuno ei feddwl ac yn cenedlu gobaith ynddo am iachad. Rhoddodd ei fysedd yn ei glustiau megys i'w hagor, oblegid yno yr oedd ffynonell y drwg; nid allai y dyn siarad yn eglur am nad

allai glywed dim. Symudwyd y diffyg hwn gan hyny yn gyntaf. Yr oedd y tafod, o herwydd diffyg lleithder, yn glynu wrth daflod y genau, a chan hyny gwlychodd yr Iesu ei fys a dwfr ei enau ei hun, i'w ollwng yn rhydd, megys. Canfyddai y dyn fel hyn mai o hono ei hun yr oedd yr Iesu yn cyfranu y fendith, ac nid o un ffynonell arall. Nid mewn un modd fel meddyglyn y defnyddiai yr Iesu y lleithder hwn, ond yn arwydd priodol ei fod yn datod rhwymau ac yn gollwng y tafod yn rhydd. Cymera Marc ni i'r man a'r lle i weled a chlywed y cwbl. "A chan edrych i fyny efe a ocheneidiodd," ac adrodda hefyd y gair a lefarodd yr Iesu wrth y dyn sef "Ephatha," ymagor. Edrychai tua'r nef i ddangos ei undeb a'i Dad ac i ddangos nad oedd efe yn gwneyd dim ond a welai y Tad yn ei wneuthur. Ocheneidiai mewn gweddi, medd rhai, eithr yn hytrach, feddyliem, o herwydd yr olwg alarus ar effeithiau pechod ydoedd wedi darostwng y ddynoliaeth oedd unwaith ar ddelw Duw. Gwasgai hyn yn fynych ochenaid o'i galon dyner.

Wedi i'r gwr yma droi ymaith a'i galon yn ysgafn a'i wyneb yn siriol, wedi cael iechyd corfforol ac ysbrydol hefyd, gobeithiwn, prysurai torfeydd lawer ato a chanddynt ddeillion ac anafusion ereill lawer, gan eu bwrw wrth draed yr Iesu. Y mae rhywbeth yn swn y geiriau a gwedd yr hanes yn dangos mai mynyddwyr syml a gwledig iawn oedd y bobl hyn. Iachaodd yntau hwy oll, ac fel yr oeddynt yn troi ymaith y naill ar ol y llall cyfodai bloedd ar ol bloedd o gymeradwyaeth a moliant oddiwrth y dorf. Yr oedd bellach wedi dod at lan ddwyreiniol y mor, ac yn agos i'r fan y porthasai y pum' mil, a'r adeg hon efe a borthodd bedair mil

o wyr heblaw gwragedd a phlant. Glynai y miloedd hyn wrtho i wrando y geiriau grasusol a ddeuai allan o'i enau, gan anghofio pobpeth arall, hyd yn nod angenrheidiau natur. Yr oedd y ddwy wyrth o borthi y miloedd yn weithredoedd o wir dosturi a chydymdeimlad ag eisiau naturiol ei wrandawyr. Sonir eu bod mewn perygl o lewygu o eisiau bwyd. Gwyddai ef am angen pob dyn a phlentyn a 'mam dyner o honynt, a bod aml un mewn perygl o syrthio cyn y gallent gyraedd i un man lle gallent gael tamaid. Gwyddai yr Iesu yn brofiadol beth ydoedd dyoddef cnofeydd newyn, a theimlai dros eraill yn yr un cyflwr. Nid ydym yn cael i'r Iesu roddi cymaint a thro ar ei sawdl erioed er ei foethi ei hun; er mwyn ereill yr oedd ei holl wasanaeth, ei lafur a'i ludded ef. Nid er dangos mawredd ei allu y gwnaeth y gwyrthiau hyn, fel y prawf gwedd yr hanes. Yr oeddynt mor ddirodres, mor syml yn y cyflawniad o honynt, fel nad ydym yn dueddol i sylwi cymaint ar y gallu ag ydym ar y tiriondeb a'r caredigrwydd sydd ynddynt. Buom lawer gwaith yn synu fod y dysgyblion yn methu amgyffred pa fodd y porthai efe y miloedd, pryd yr oedd gwyrth gyffelyb ond o fwy o nifer wedi cael ei chyflawni mor ddiweddar ac yn agos i'r un llanerch hefyd. Ond goreu fyddai i ni edrych gartref; y mae trugareddau a chymwynasau wedi yr elont heibio yn colli ei hargraff oddiar y meddwl yn fuan iawn. Cyffelyb ydoedd gydag Israel ar draeth y Mor Coch ac yn yr anialwch, ac yn gyffelyb y mae eto mewn adegau o gyfyngder. Rhaid cael ffydd gryfach nag a feddai yr Apostolion y pryd hwnw i ymddiried yn ffyddlondeb Duw i wynebu cyfyngder presenol.

Wedi gollwng y torfeydd aeth yr Arglwydd Iesu i barthau Magdala, pryd y cydunodd y Phariseaid a'r Saduceaid i'w demtio. Ceisient ganddo arwydd o'r nef, rhyw arwydd mawr yn y man a'r lle, er rhoddi llawn foddlonrwydd iddynt hwy mai efe oedd y Messiah, fel ag i roddi terfyn llwyr ar bob amheuaeth oedd yn eu meddyliau ar y mater. Yr oedd caledwch calon y dynion hyn yn tristâu ac yn gofidio calon dyner yr Arglwydd Iesu, a gadawodd hwy ar unwaith, gan gymeryd llong yn frysiog a hwylio yn ol dros y llyn. Rhaid fod y dynion hyn mewn penbleth nad allwn ni ei dirnad cyn y buasai y ddwy blaid oeddynt yn elynion mor ffyrnig i'w gilydd, yn ymheddychu ac yn cyduno i ymosod ar yr Iesu. Yr oedd y ddwy sect yn casâu eu gilydd yn fawr, a'r ddwy yn casâu yr Iesu hawddgar, diniwed, yn fwy na hyny.

Tua'r adeg hon dygwyd ato ddyn dall, gan ddeisyf arno gyffwrdd ag ef. Y tro hwn gwaith graddol oedd dwyn y dyn dall i weled yn eglur. Cenfydd rhai yn y gwaith graddol hwn fychandra ffydd y dall truan. Caffai y rhai oedd yn llefain ar ei ol am eu golwg eu cais ar unwaith; ond yr oedd hwn wedi ei ddwyn at yr Iesu gan eraill, ac efallai mai prin y dysgwyliai gael ei olwg. Ni fynai yr Iesu ei adael yn ddisylw, ac nid allai gyfranu y fendith heb ffydd yn y dyn i'w derbyn, felly rhoddai ar y cyntaf megys archwaethiad iddo, er codi awydd ac ymddiried ynddo am ragor. Tybia ereill fod yma ddarlun o drefn Duw yn achub pechadur. Nid ar unwaith y mae llawer un yn dod i weled yn glir i drefn yr iachawdwriaeth. Erys llawer o'r hen gèn ar y llygad am

dymor hir, ac yn raddol ond yn sicr y mae Duw yn gorphen y gwaith y mae wedi ei ddechreu.

Pregethasai yr Arglwydd Iesu lawer iawn yn Galilea; buasai drwy y wlad yn fanol dair neu bedair gwaith; ond yn awr yr oedd wedi darfod â hwy yn y wedd hono, ac ni chaent glywed ei lais tyner yn eu heolydd na'u synagogau nac ar hyd eu bryniau mwyach. Edrychent hwy bellach at y canlyniadau, a pha beth fyddai y ffrwyth a ddygent ar ol gweinidogaeth na chlywodd y byd ddim i'w gydmaru â hi o'r blaen. Galwai sylw ei ddysgyblion at hyn trwy ymholi a hwy pa argraff oedd ei bregethau wedi ei gael ar eu cydwladwyr. "Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i, Mab y dyn?" "Rhai mai Elias, rhai mai un o'r proffwydi" oedd eu hateb. Cynwys difrifol yr ateb, dybygem yn sicr ydyw, fod ei lafur caled wedi myned bron yn ofer, dim ond un o ddinas a dau o deulu, megys. Yna gofynodd i'w ddysgyblion pwy yr oeddynt hwy yn barnu ei fod ef. Methasai gael gan y torfeydd ddeall a chredu ei ymadroddion, a pha fodd yr oedd gyda'r deuddeg; ai nid oedd yn eu mysg hwythau rai yn debyg i'r torfeydd? Yna cyfododd Pedr i fyny yn y man ac atebodd dros y lleill, "Ti yw y Crist, Mab y Duw byw," a'r pryd hwn y daeth yr ymadrodd hynod hwnw dros ei wefusau, fel sylw ar ateb ei ddysgyblion trwy enau Pedr: "Ac yr wyf yn dywedyd i ti mai ti yw Pedr, ac ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys, a phyrth uffern nis gorchfygant hi, a rhoddaf i ti agoriadau teyrnas Dduw; a pha beth bynag a ryddhaech ar y ddaear a fydd wedi ei ryddhau yn y nef &c." "Ti yw Crist, Mab y Duw byw" —y grediniaeth gadarn hon oedd sail Pedr am ei fyw-

yd. Cyfeiriai yr Iesu mewn ffigyr prydferth at ystyr enw Pedr, sef careg, pan yn dywedyd, "Ti yw Pedr, ac ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys, a phyrth uffern nis gorchfygant hi"; fel pe dywedasai, Y mae dy ffydd, fel dy enw, yn anorchfygol, ac ar y cyfryw ffydd a hon yr adeiladaf fy eglwys. Yna aeth yn mlaen i ddywedyd wrth Pedr. gan mai efe oedd y siaradwr dros y deuddeg, "Rhoddaf i ti agoriadau teyrnas Dduw, a pha beth bynag a ryddhaech ar y ddaear fydd wedi ei ryddhau yn y nef." Ymadrodd ffigyrol eto, yn danges awdurdod gweinidogaeth yr Apostolion, neu oruchwyliaeth yr efengyl; ac ymadrodd tarawiadol iawn oedd dywedyd, "fod agoriadau teyrnas nef" gan y rhai oedd yn agor ac yn dwyn allan wirioneddau gwerthfawr yr efengyl i ddynion. Trwy y geiriau "pa beth bynag a rwymech ar y ddaear," dybygid, y dangosai y byddai y deddfau a'r gosodiadau a roddid i'r eglwys trwy yr Apostolion yn cael eu cadarnhau gan awdurdod y nef, a byddai pawb a glywai y cyhoeddiad o honynt yn rhwym i'r nef am eu hufudddod iddynt; ac ar y telerau y byddai iddynt hwy ddadgan fod Duw yn maddeu i bechadur ac yn ei ryddhau oddiwrth gosp, felly y byddai yn cymeryd lle o flaen gorsedd Duw.

Wedi y dadganiad hwn wrth ei ddysgyblion, cyhoeddodd yr Arglwydd Iesu y gwaeau uwchben y dinasoedd hyny oeddynt wedi mwynhau y rhan fwyaf o'i weinidogaeth, ac wedi gweled y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef. Yr oeddynt hwy wedi ei wrthod ef, ac yn awr wele yr Iesu tirion, o anfodd ei enaid, yn cyhoeddi ei wrthodiad yntau o honynt hwy. Nis gallwn synied y buasai yn arfer y fath iaith arswydlawn

oni buasai fod Duw wedi eu rhoddi i fyny. Buom yn ceisio gwasgu ein hunain i gredu fod bron yr oll a dderbyniasent iechyd trwy ddwylaw yr Iesu yn ei dderbyn ef ei hunan fel eu Gwaredwr a'u Duw. Eithr er y cwbl mae ofnau poenus yn llanw y meddwl ein bod yn meddwl yn rhy dda am y natur ddynol lygredig. Y mae yn alarus meddwl i rai dderbyn iechyd, a gwrthod bywyd. Iachawyd miloedd lawer mae yn eithaf eglur, ond pa le y maent erbyn yr adeg hon? Yr oeddynt yn ddigon lluosog i fritho yr holl wlad, pob cymdeithas a chynulliad. Eithr methwn ganfod ond ambell un yma a thraw. Wele anniolchgarwch yn wyneb caredigrwydd na welwyd ei debyg yn y byd o'r blaen. Wrth ganfod ei lafur blin, mor briodol yr ymadrodd, "At yr eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun nis derbyniasant ef."

## PENNOD XVI.

*Y daith i Cæsarea Philippi— Y gweddnewidiad—Iachau y bachgen lloerig—Talu y dreth trwy wyrth.*

O hyn allan cawn fod yr Arglwydd Iesu yn gadael y torfeydd i raddau mawr, gan droi ei brif sylw at ei ychydig ddysgyblion, i'w haddysgu a'u parotoi erbyn yr amser dyfodol, ac yr oedd ganddo lawer o waith caled gyda hwy, oblegid yr oeddynt yn mhell ryfeddol ar ol wedi eu holl fanteision. Gadawodd lanau mor Tiberias a chymerodd daith gyda ei ddysgyblion i fyny dyffryn yr Iorddonen can belled a Cæsarea Philippi, yr hon oedd yn nghwr mwyaf gogleddol gwlad Canaan, yn tynu at lethrau mynydd Libanus, ac yn agos i'r hen ddinas Lais neu Dan. Dengys gwedd yr hanes nad oedd ond ychydig yn ei ganlyn ond ei ddysgyblion. Gallem feddwl fod y cleifion gan mwyaf wedi eu gwella yn mysg trigolion Galilea, a'r brwdfrydedd yn eu cylch wedi gwisgo allan i raddau mawr.

Wedi cael y dysgyblion heb neb ond efe a hwythau, dechreuai agor o'u blaen athrawiaeth fawr ei ddyoddefiadau, a'r angeu poenus oedd yn ei aros, a'r erlid fyddai arnynt hwythau, mewn canlyniad, fel swyddogion ei deyrnas. Braidd na ellid tybied oddiwrth ambell air a ddyferai dros ei wefusau, ei fod am gryfhau eu gobaith am deyrnas ddaearol. Cawn ef yn addaw iddynt gael eistedd ar ddeuddeg gorsedd i farnu deuddeg llwyth Israel, yr hyn a gipient hwy i fyny mewn ystyr naturiol. Gydag un gair drachefn chwalai y dychymygion hyfryd hyn i'r pedwar gwynt, trwy ddangos y gofidiau a'r blinderau oedd o'u blaen, a

hyny bellach bron yn eu hymyl. Dywedai wrthynt mewn ymadroddion nad allasent, dybygid, mo'u camddeall, y camdrinid ef gan flaenoriaid y genedl, ac y byddai iddynt yn y diwedd ei ladd, ond y byddai iddo adgyfodi y trydydd dydd. Ceisiai Pedr eto, fel prif siaradydd y cylch bychan o ddysgyblion, gysuro a pherswadio ei Feistr Mawr na byddai i'r fath ddiwedd arswydus ei oddiweddyd, os byddai iddo ond trugarhau wrtho ei hun, yr hyn yn ol teimlad a syniad Pedr oedd yn gwbl naturiol i bob dyn. Doethineb ddynol oedd hon, yn cael ei harfer gan y naill tuag at y llall, yn y rhagolwg ar yr amgylchiadau cyfyng a thrallodus allai fod yn mlaen. Trodd yr Iesu ei olwg o amgylch gan edrych arnynt, er eu cysylltu yn nghyd a rhoddi ar ddeall i'r oll, yna dywedai wrth Pedr, yr hwn oedd newydd roddi y cyngor iddo, "Dos yn fy ol i, Satan, canys rhwystr ydwyt i mi." Mae yn eglur fod Pedr, er yn ddiarwybod iddo ei hun, yn gweithredu dros Satan, ac fod holl alluoedd uffern y fynyd hono yn ymosod ar y Gwaredwr, a'i fod yntau yn nghanol profedigaeth danllyd iawn i gilio rhag dyoddefiadau a marwolaeth. Yr wyt mor fawr, fel pe dywedasent, mor dda, nid wyt yn haeddu hyn oddiwrth nef na daear, tafl y cwpan oddiwrthyt, y mae yn rhy arswydlawn o chwerw i ti i'w yfed. Buasai yn greulondeb gwasgu ar gythraul i yfed y fath gwpanaid, i ddal y fath driniaeth, pe buasai yn ddichonadwy iddo ei dal, heb suddo dani yn is nag uffern isod. Yr oedd y dysgyblion eto heb ddeall nemawr o athrawiaeth y proffwyd Esaiah: "Efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni." Beth pe buasai i Pedr, o dan ysbrydoliaeth uniongyrchol Satan, gael ei ffordd, beth a ddaethai o

honom ni ddarllenydd? pa fodd y talesid ein dyled?

Tra yr oedd yr ymddyddan hwn yn cymeryd lle rhwng yr Iesu a'i ddysgyblion y mae y bobl eto yn dechreu ymgasglu o'u hamgylch, ac y mae yr Iesu yn eu galw yn nes i wrando arno. Gan fyned yn mlaen gyda'r un mater, dywedai, "Os oedd hyd yn nod colli bywyd naturiol yn dod ar y llwybr i gyrhaeddyd bywyd tragywyddol, nad oedd fawr o les i ddyn gadw ei einioes ac enill byd cyfan, ac wrth hyny golli ei enaid."

Y mae hon yn adeg hynod ar oes a gweinidogaeth yr Arglwydd Iesu. Y mae, dybygem, echryslonrwydd pechod dyn, yn nghyd a'u canlyniadau arswydus i'r anedifeiriol, ac iddo yntau ei hun fel meichnïydd pawb a gredant ynddo, megys yn myned heibio o flaen ei feddwl. Y mae dwysder arbenig yn llanw ei holl enaid, a'i ymddyddanion, bob cam oddi yma yn mlaen hyd Gethsemane a Chalfaria. Chwe' diwrnod wedi hyn, medd Matthew; yn nghylch wyth diwrnod medd Luc, gan gyfrif y dydd yr oedd yn siarad, yn nghyd a'r dydd y daethant i lawr o'r mynydd, y mae y gweddnewidiad rhyfeddol yn cymeryd lle ar yr Arglwydd Iesu. Y mae efe yn cymeryd Pedr, Iago, ac Ioan gydag ef, ac yn esgyn i fyny i fynydd uchel o'r neilldu i weddio. Tybia rhai eu bod wedi gadael Cæsarea Philippi, a dod i lawr y wlad yn ol can belled a mynydd Tabor, gerllaw Nazareth; ond haws genym feddwl oddiwrth wedd yr hanes nad oeddynt, ond eu bod bod ar ryw ran o fynydd Hermon, i'r gogledd ddwyrain o Cæsarea. Ond beth bynag yr oedd yn fynydd uchel, ac yn gwbl mewn neillduaeth oddiwrth y byd prysur a'i dwrf, ac yma y mae yr olygfa ryfeddol yn cymeryd lle.

Yr oedd yn anfeidrol mewn prydferthwch. Mae desgrifiad yr Efengylwyr o'r amgylchiad yn dra syml. Medd Matthew, "A gweddnewidiwyd ef ger eu bron hwynt, a'i wyneb a ddysgleiriodd fel yr haul, a'i ddillad oedd can wyned a'r goleuni"; medd Marc, "Ac efe a weddnewidiwyd yn eu gwydd hwynt, a'i ddillad a aethant yn ddysglaer, yn ganaid iawn fel yr eira, y fath na fedr un panwr ar y ddaear eu cannu." Eto Luc a ddywed, "Ei wynebpryd a newidiwyd, a'i wisg a aeth yn wen ddysglaer." Iaith syml y gall plentyn bychan ei deall; ond ni fu erioed eiriau llawnach o ystyr. Y maent yn creu yr olygfa yn newydd o flaen y meddwl bob tro y darllenir hwynt. A'r argraff a adewir yn naturiol ar y meddwl ydyw, mai nos oedd ar y pryd, oblegid yr oedd y tri dysgybl wedi trymhau gan gwsg tra yr oedd eu Hathraw Mawr yn treulio y nos wrtho ei hunan mewn gweddi; ni ddaethant i lawr o'r mynydd hyd dranoeth; hefyd yr oedd yr olygfa yn llawer mwy mawreddig ac argraffiadol i'r dysgyblion yn y nos nag a fuasai wrth oleuni haul. Collasant ddechreu y weledigaeth am eu bod yn cysgu, ond y foment y deffroisant, gwelent olygfa na welodd llygad o gnawd ei chyffelyb erioed. Nis gallwn ddweyd dim am dani, dim ond gadael i'r meddwl sefyll a synu ar y weledigaeth fawr, fel y mae i'w gweled yn ngeiriau byw yr Efengylwyr sanctaidd. Dywed un hen ysgrifenydd call, mai "gweddnewidiad oedd holl oes y Duwddyn, ond yma ar y mynydd am ychydig amser ymddangosai yn ei wedd naturiol ei hun." Yma am ryw dymor byr mae yr Iesu mawr yn caniatau i ogoniant ei Dduwdod i ddysgleirio trwy len ei natur ddynol, ac y mae Moses y deddfroddwr, ac Elias amddiffynwr

y ddeddf, yn ymddangos yn y gwisgoedd a wisgir gan breswylwyr y nef, gan ymddyddan a'r Iesu ; nid i ddyfod a dim iddo, ond yn hytrach i dderbyn ganddo, yr oedd y ddau bendefig hyn ; ac er fod Pedr a'i ddau gyfaill wedi colli y dechreu, deallasant mai mater yr ymddyddan oedd dyoddefiadau y Meichiau yn Iawn i Dduw, "Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."

Sicr iawn y teimlai y ddau wr o Baradwys yn bryderus yn achos eu Meichiau, oblegid yr oedd eu parhad personol yn eu sefyllfa hyfryd ac mewn mwynhad o'u hetifeddiaeth yn ymddibynu ar lwyddiant yr Iesu yn talu eu dyled, ac yn prynu eu bywyd. Pe buasai ef yn methu un cam yn rhywle cawsent eu bwrw allan o'u hetifeddiaeth a buasent yn colli yr oll oedd yn anwyl ganddynt; ond bydded coronau fyrdd ar ei ben, aeth trwy y gwaith yn ol y cyfamod, ac nid yn unig y mae y gwyr da hyn yn ddiogel byth, yn mwynhau eu hystad, ond trwy yr un haeddiant y mae gobaith i'r darllenydd a'r ysgrifenydd hefyd i fod yn gyd-etifeddion â hwy byth mewn gogoniant.

Y mae Pedr wrth edrych ar yr olygfa yn synu ac yn dyrysu, eto y mae yn eglur ei fod wrth ei fodd, fod ei syndod yn ddymunol, denu ac nid gwrthyru meddwl y dysgyblion, yr ydoedd yr ymddangosiad mawreddig. Mae yn bosibl fod y syniad am y freniniaeth yn ymgodi yn meddyliau y tri dysgybl, a chan y mynai Pedr fod yn mlaenllaw ar bawb i wneyd parotoadau ar gyfer hyny, "Gwnawn," meddai, "dair pabell, un i ti, ac un i Moses, ac un i Elias, heb wybod ei hunan pa beth oedd yn ei ddweyd." Tra yr oedd efe yn siarad, wele gwmwl goleu yn eu cysgodi, "A daeth llef

o'r cwmwl, 'Hwn yw fy Anwyl Fab, gwrandewch ef.'" Y mae y mynediad i'r cwmwl a llais lleferydd y Jehofa yn eu brawychu gymaint fel y maent yn syrthio ar eu hwynebau ar y ddaear. Hawdd genym gredu fod mawredd yn y llef, yn dyner fel yr awelon, yn fawreddig fel llais y daran, fel na feiddient edrych o'u hamgylch na chodi eu hwynebau oddiar y ddaear, nes i'w Hathraw Mawr ddyfod a chyffwrdd â hwynt, a sicrhau iddynt nad oedd perygl, ac ar iddynt beidio ofni.

Wedi iddynt godi, ni welent neb ond yr Iesu yn unig, a hyny yn ei wedd arferol. Gorchymynodd yn gaeth iddynt beidio adrodd yr hyn a welsent wrth neb, am, y mae yn debygol, na wnai hyn les i neb; ni buasai ond ychydig yn barod i gredu, a llai eilwaith yn deall y tro rhyfeddol; buasai yn debyg o godi cynwrf yn mysg ei garedigion a'i elynion hefyd. Y tri wyr hyn oeddynt y blaenaf yn mysg yr Apostolion, ac oeddynt i fod megys canolbwynt yr Eglwys ag oedd i gael ei ffurfio yn fuan. Yr oedd eu bod yn cadw y gyfriniaeth fawr hon yn y fynwes, yn ei gadw yn ei newydddeb, ei wres, a'i rym, yn eu calonau. Pe buasent yn ei adrodd i bawb, buasai megys yn treulio ymaith gyda'r awelon, ac yn colli ei ddylanwad ar eu calonau. Buasai hefyd yn effeithio yn ddrwg ar y dysgyblion ereill trwy beri dolur i'w teimladau am na chawsent hwythau hefyd fod yn bresenol. Drachefn, byddai cofio am hyn yn Gethsemane yn gynaliaeth mawr i'w meddyliau pan y byddai eu ffydd a'u hymddiried yn eu Meistr i gael eu profi i'r byw. Yr oedd y weledigaeth hefyd yn arddangosiad iddynt hwy o'r hyn a fyddai eu Hathraw ar ol ei adgyfodiad. A diau gen-

ym fod yr amgylchiad yn rhyw beth mawr i'r Iesu ei hunan er ei gynal yn y dyfnderoedd yr oedd efe i fyned iddynt a thrwyddynt. Yr oedd yma yn cael blaenbrawf o'r llawenydd a osodwyd iddo. Ond y mae dirgelwch yn llen gudd ar ei brofedigaethau fel nad allwn ni eu canfod na'u deall ond i raddau bychain iawn. Aeth trwy ddyfnderau nad all ein meddyliau terfynol ni eu hamgyffred byth; ond y mae myfyrio arnynt yn wledd hyfryd i bawb sydd yn ei garu.

Y mae tu hwnt i ddadl mai adrodd ffeithiau syml, gwirioneddol, am bethau oedd wedi cymeryd lle, y mae yr efengylwyr, ac mai nid dameg na dychymyg o un math ydynt. Hwyrach nad aem yn rhy bell wrth roddi lle, eto yn gynil iawn a pharchus, i'r syniad fod llawer o'r naturiol yn y gweddnewidiad. Adeg buddugoliaeth fawr ar ol profedigaeth lem, danllyd, oedd hon ar y Messiah. Gwyddom fod golwg dra gwahanol ar y wyneb dynol mewn adeg o fuddugoliaeth a llawenydd, i'r hyn ydyw ar amser cyffredin, yn arbenig adeg o dristwch blin. Y mae yn cael ei oleuo i fyny a'i brydferthu yn rhyfedd; y mae gan feddwl sanctaidd yn sicr allu rhyfeddol i wneyd ei hun yn weledig yn y wyneb. Y mae siamplau hynod o hyn i'w cael yn y ddynoliaeth, a hyny cyn iddi gael ei chwbl sancteiddio. Darllenasom yn ddiweddar am wyryf ieuanc ag oedd yn ofni yr Arglwydd yn fawr o'i mabandod, nes bod yn gynar iawn yn gwbl addfed i'r nef. Yr oedd yn y darfodedigaeth, yn rhodio yn hamddenol ar hyd glyn cysgod angau, a dydd ei hymadawiad yr oedd nifer o'i chyfeillion yn eistedd o amgylch ei gwely yn ymddyddan am ei gollyngdod, pryd y gwelent ei hwynebpryd yn newid, a math o ddysgleirdeb hyfryd yn ym-

daenu drosto, nes ei gwneyd yn brydferth annesgrifiadwy uwchlaw dim a welsent erioed; ac er fod braw a syndod yn dal pawb, eto golygfa yn denu, yn tynu ati ydoedd, ac nid yn peri i'r meddwl gilio yn ol. Yr ydym yn mhell iawn oddiwrth ddymuno cydmaru dim a welwyd ar y ddaear erioed i weddnewidiad ein Gwaredwr. Eto, braidd na feddyliem fod rhyw beth o'r un natur ynddo, eto yn anfeidrol uwch mewn graddau; craffed y darllenydd yn fanwl ar Exodus 34, a 2. Cor. 3:18.

Wedi bod ar y mynydd tua phedair awr ar hugain efallai, daeth efe a'r tri dysgybl i lawr gyda eu gilydd. Yr oedd y naw dysgybl arall ar y gwastadedd yn dysgwyl, heb wybod dim am yr amgylchiad rhyfedd oedd wedi cymeryd lle ar y mynydd, a thorf fawr wedi ymgasglu o'u hamgylch, a'u gelynion y Phariseaid, yn cymeryd mantais oddiar absenoldeb eu Hathraw, yn dechreu eu trin yn lled arw yn ngwydd y bobl. Yr oedd yr olygfa ar y mynydd sanctaidd a'r un wrth ei droed yn dra gwahanol i'w gilydd. Yr oedd Pedr, er ei fod wedi dyrysu ychydig, yn nes i'w le nag y bu lawer gwaith pan y dymunai godi pebyll ac estyn parhad yr adeg hyfryd ar y mynydd; nid oedd yno Ysgrifenydd na Pharisead i'w blino, a phe cawsent ganiatad i ddod i fyny, buasai awyrgylch y lle yn rhy sanctaidd iddynt aros nemawr.

Ymddengys fod y naw dysgybl wedi cymeryd arnynt y gorchwyl i fwrw ysbryd aflan, a hwnw yn fwy ystyfnig na'r cyffredin, allan o fachgen ieuanc a ddygasid atynt gan ei dad trallodus; ac yr oeddynt wedi methu yn eu hymgais, a haerai y gelynion oddiwrth fethiant y gweision anfedrus, anallu y Meistr hefyd, a hwythau druain yn dadleu oreu y medrent dros eu

Meistr; ac ymddengys fod yno ryfel dafod ffyrnig yn myned yn mlaen. Ar hyn mae yr Iesu ei hun yn gwneyd ei ymddangosiad, a gallwn feddwl yn sicr fod rhyw beth hynod, rhyw weddillion o'r gweddnewidiad i'w ganfod ar ei berson prydfferth a serchog. Yr oedd yr argraff a adawai ei wedd ar y dorf yn dra gwahanol i'r argraff a wnai wyneb Moses ar y gynulleidfa pan y disgynodd oddiar fynydd Sinai; ciliai meibion Israel draw rhag Moses. Tebygol mai dysgleirdeb arswydlawn y ddeddf oedd yn tywynu y pryd hwnw; ond yr oedd gwyneb yr Iesu, er yn fil mwy mawreddog, eto yn ddeniadol ryfeddol, yn denu, yn tynu ato, yn lle eu gyru i gilio draw. "Ac yn ebrwydd yr holl dyrfa pan ganfuent ef, a ddychrynasant, a chan redeg ato a gyfarchasant iddo." Nid oes un perygl eto i bechadur i redeg at yr Iesu. Y mae presenoldeb yr Athraw gyda'i ddysgyblion yn rhoddi taw buan ar yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid oedd yn ymosod arnynt. "Pa gydymholi yr ydych yn eich plith eich hunain?" meddai. Y mae yn cymeryd ei ddysgyblion o dan ei nawdd, a chystal a dywedyd wrth y gelynion, "Os oes rhyw beth a fynoch, bydded â mi, ac nid â hwy." Seliai hyn eu dystawrwydd yn y man; yna y mae gwr yn dod yn mlaen, gan ymgrymu iddo a dweyd, "Trugarha wrth fy mab, oblegid y mae efe yn lloerig ac yn flin arno, canys y mae yn syrthio i'r dwfr yn fynych, ac i'r tân yn fynych, ac mi a'i dygais ef at dy ddysgyblion di, ac ni allent hwy ei iachau ef." Y mae yr Iesu gan ateb yn dywedyd, "O genedlaeth anffyddlawn a throfaus, pa hyd y byddaf gyda chwi, pa hyd y goddefaf chwi?" Y mae cryn anhawsder i wybod at bwy y cyfeiriai yr Arglwydd Iesu yr ym-

adrodd llym hwn. At ei ddysgyblion, medd rhai, o herwydd bod yr yspaid byr hwn o'i absenoldeb ef oddiwrthynt wedi eu diosg o'i holl rym a'u gadael yn llwfr a digymorth yn wyneb galluoedd y tywyllwch. Ymddengys Math. 17:20, yn ffafriol i'r golygiad hwn. Y mae eraill, yn neillduol y tadau eglwysig, yn dadleu mai at y torfeydd o'i amgylch, ac yn arbenig at dad y bachgen, y cyfeiriai, o herwydd ei anghrediniaeth, Marc 9:22. Y mae yr ymadrodd cenedlaeth yn ffafriol i'r golygiad hwn, Marc 9:19. Ond ymddengys i ni fod y geiriau yn cael eu cyfeirio at y pleidiau oll, nid at y dysgyblion yn unig nac yn benaf, ond at dad y llanc a'r dorf; ond nid ydyw y dysgyblion yn rhydd yn wyneb y cerydd, oblegid eu hanghrediniaeth hwy oedd wedi dwyn y gwarth hwn arnynt, ac wedi eu darostwng o dan yr un cerydd a'u cydgenedl, "Pa hyd y byddaf gyda chwi?" Ymadrodd o'r un ystyr, a hwnw yn Ioan 14:9, "A ydwyf cyhyd o amser gyda chwi, ac nid adnabuost fi, Phylip?" Methodd y ffon yn llaw y gwas fywhau y bachgen, rhaid oedd cael y proffwyd ei hun; felly yma. Pan y dygwyd y llanc yn mlaen, y mae yn syrthio i un o'r pangfeydd arferol; mae y cythraul oedd ynddo yn canfod fod ei amser yn fyr, ac felly yn cynddeiriogi yn fwy. Er mwyn tawelu meddwl y tad trallodus, a chreu hyder ynddo, mae yr Iesu yn gofyn, "Er's pa faint o amser yr oedd efe fel hyny?" "Er yn fachgen," atebai y tad, ac yna äi yn mlaen gyda ei hanes galarus er ceisio cynhyrfu tosturi yr Athraw tuag ato. "Os gelli ddim, cymorth ni" meddai. Taflai yr Iesu yr *os* yn ol arno ef ei hun, "Os gelli di gredu, gallaf finau iachau; dy ddiffyg di o ffydd, ac nid dim nerth

sydd yn y cythraul i wrthsefyll sydd yn gwneyd y gwaith yn anhawdd; pob peth a fydd i'r hwn a gredo." Ffydd oedd telerau y feddyginiaeth, ac amcan yr holl ymddyddan oedd rhoddi genedigaeth i ffydd yn enaid y tad; ac y mae ganddo bellach ddigon o ffydd i weled a theimlo ei anghrediniaeth; a gwaeddai allan, "Yr wyf yn credu, O Arglwydd, cymorth fy anghrediniaeth." Mae yr Iesu yn ddioed yn gwobrwyo y gronyn lleiaf hwn o ffydd y tad trallodus, yn troi at y cythraul ac yn dywedyd, "Ti ysbryd mud a byddar, yr wyf fi yn gorchymyn i ti ddyfod allan o hono, ac na ddos iddo mwy." Y mae y cythraul yn eithaf anfoddlon i droi allan, ac yn chwenychu dinystrio yr hyn nad allai ddal gafael ynddo, ac wedi iddo lefain a dryllio llawer arno, y mae yn ei adael fel un marw. Mae yr Iesu yn gafael yn llaw y llanc ac yn ei gyfodi i fyny yn gwbl iach yn y man. Wedi iddo fyned i dy, mae y dysgyblion yn ofidus eu meddwl yn gofyn iddo paham nad allasent hwy ei fwrw ef allan. Yr Iesu a ddywedodd, "O herwydd eich anghrediniaeth." Nid oeddynt wedi arfer y moddion er gweithredu ffydd yn eu Hathraw mawr. Prin yr oeddynt yn credu eu hunain wrth fyned yn nghyd a'r gorchwyl o fwrw y cythraul allan, y buasai yn ufuddhau iddynt, a hyny oedd yr achos o'u methiant. Rhoddai yr Iesu amnaid efallai, fod graddau yn mysg y demoniaid hyn, yn gyferbyniol i angelion ac archangelion a seraphiaid y nef, ac nad ellid darostwng y cadbeniaid uffernol hyn ond trwy ympryd a gweddi, sef y moddion i gadw i fyny ffydd mewn bywiogrwydd a grym.

Wedi i'r ymddyddanion hyn fyned drosodd, y mae

yr Iesu yn dywedyd mor eglur nes mae yn syndod fod neb yn methu ei ddeall ar unwaith, am ei farwolaeth a'i adgyfodiad; ond yr oedd eu deall ar y mater hwn megys wedi ei gloi i fyny fel nad allent dderbyn y syniad i mewn.

Bellach y maent yn cyraedd adref, os teilwng ei alw felly, i Capernaum, o Cæsarea Philippi. Y mae yr Arglwydd Iesu yn myned i mewn i'r ddinas, a Simon Pedr ar ei ledol dybygem, pryd y mae casglwyr y dreth yn gofyn i Pedr, "Ai nid yw eich Athraw chwi yn talu teyrnged?" Mae dadl yn mhlith y beirniaid pa un ai y dreth wladol ai yr un eglwysig oedd y deyrnged hon. Nid ydyw ein llwybr presenol yn gorwedd trwy faes y ddadl hon; ond mae yn eglur i ni wedi darllen y ddadl, mai treth Hebreaidd tuag at gynal gwasanaeth Duw yn y deml ydoedd, yr hon a delid gan bob Israeliad; ar y cyntaf bob tro y rhifid y genedl, ond mewn amseroedd diweddarach, yn flynyddol. Heb gymeryd y golygiad hwn nid ydym yn gallu canfod grym geiriau yr Iesu, "am hyny y mae y plant yn rhyddion," fel ag i'w gyfiawnhau ef am beidio talu y dreth at wasanaeth Duw. Fel Mab Duw yn ei dy ei hun yr oedd efe yn hawlio ei fod yn rhydd oddiwrthi. Fel Mab Duw yr oedd yn gwbl rydd oddiwrth dalu at gynal gwasanaeth Duw; fel hyn mae yr hawl a honai ef yn tarddu oddiar ei fod yn fab i'r hwn y telid y dreth iddo.

Ar waith y casglwyr yn gofyn i Pedr, y mae efe yn ddiau yn eiddigus dros anrhydedd ei Arglwydd, eto yn rhy frysiog yn ateb. Yr oedd yma ddiffyg ystyriaeth o urddas ei Athraw. Nid yn y goleu hwn y dywedai dro yn ol, "Ti yw Crist, Mab y Duw byw." Yr oedd

wedi colli golwg, ar y pryd o leiaf, fod Crist yn fab ar ei dy ei hun, ac mai efe ei hun ydoedd pen y Ddwyf-lywyddiaeth (*Theocracy*), ac mai iddo ef y telid y dreth neu y deyrnged hon. Ac i'r dyben o ddwyn meddwl y dysgybl byrbwyll i'w gydnabod ef yr hyn ydoedd, rhoddodd y gofyniad i Pedr, yr hwn yn ei frys annoeth oedd wedi cystal ag addaw yr arian i'r casglwyr. Yn awr y mae efe yn cyflawni gwyrth, a gwyrth hefyd ag oedd yn profi ei fod ef yn Fab Duw, yn Arglwydd natur, ac fod hyd yn nod y pysg sydd yn tramwy llwybrau y moroedd, y rhai sydd leiaf o dan lywodraeth dyn o holl ranau natur, eu bod hwy o dan ei lywodraeth ef; ac er nad oedd yn meddu dim, eto ei fod yn perchen pob peth. Yma, fel amryw fanau eraill, mae dyfnder ei dlodi yn cael ei oleuo a'i ysgafnhau gan belydr o'i ddwyfol ogoniant, a thrwy y dull o dalu y swm bychan hwn, dangosai fawredd ei berson, pryd y buasai talu mewn dull cyffredin yn ei iselu. Yr oedd o'r pwys mwyaf i Pedr a'i gyd-ddysgyblion i beidio colli golwg ar ei fawredd.*

* Mae yn dod i'r golwg yn awr ac eilwaith yn yr hanes, nad oedd yr Iesu a'i ddysgyblion yn dlawd fel ag i ddyoddef eisiau cysuron cyffredin bywyd. Y mae fod ganddo ef a'i gwmni drysorydd wedi ei ddewis yn eu plith eu hunain, a chôd wedi ei pharotoi, yn dangos fod rhyw gymaint o arian yn dod i'w dwylaw; ac er fod nifer o wragedd duwiolfrydig, a chyfoethog hefyd, yn canlyn yr Arglwydd Iesu ar ei deithiau ac yn gofalu am fwyd iddo yn ei bryd, pan na byddai yn cael ei wahodd i dai y trigolion, eto dygwyddai amgylchiadau weithiau pan y byddai raid prynu bwyd, megys yn Sichar a threfydd ereill Samaria, ac efallai ar ffiniau anghysbell y wlad, lle na byddai derbyniad iddo i dy. Gallwn feddwl hefyd wrth swn Judas, y trysorydd, pan yn nhy Simon y gwahanglwyfus, ar swper, ac wrth waith y dysgyblion yn cam-ddeall meddwl yr Iesu yn yr oruwch-ystafell, pan

Yr oedd y wyrth, fel hyn, yn cael ei gwneyd i gyflenwi angen, un lled ysgafn mae'n wir, mewn ystyr allanol, o herwydd bychander y swm, oblegid gallesid codi cymaint a hyny mewn rhyw lwybr anrhydeddus a gonest arall. Ond mewn ystyr llawer mwy dwfn, yr oedd yn angen o'r pwys mwyaf. Ymddengys fod yr Iesu yn edrych ar addewid Pedr yn gamgymeriad pwysig, ac yn arwain i gyfeiliornad peryglus; a chan gynted ag y daeth Pedr i mewn ar ei ol i'r ty, achubodd yr Iesu y blaen trwy ofyn, er dangos ei hollwybodaeth, gan nad oedd efe yn y clyw pan wnaed yr addewid, "Beth yr wyt ti yn ei dybied, Simon (nid Pedr, y graig), gan bwy y cymer breninoedd y ddaear deyrnged neu dreth, gan eu plant eu hunain neu gan estroniaid?" "Gan estroniaid," oedd yr ateb parod. Oddiwrth hyny ymresymiad cwbl naturiol oedd, fod y plant, y mab, yn rhydd oddiwrth y dreth hon. Ond rhag i ni eu rhwystro hwynt, rhag iddynt gael lle i achwyn fy mod yn diystyru y deml, rhag i'r sawl na wyddant ddim am ddirgelwch duwioldeb, Duw yn y cnawd,

---

y dywedai wrth Judas, "Yr hyn yr wyt yn ei wneuthur, gwna ar frys," ei fod yn beth cyffredin iddynt roddi elusen i'r tlodion. Ond o ba le y ceid yr arian? Fel hyn, dybygem. Ystyrid yr Iesu yn Athraw, neu Rabbi, ac weithiau yn Broffwyd, ac ystyrid croesawu Rabbi yn weithred deilwng o ffafr Duw, a mynych hefyd y rhoddid arian iddo gan ewyllyswyr da, o'r rhai yr oedd canoedd ar hyd a lled y wlad. Fel hyn ceid digon o arian at bob angenrhaid, a rhyw gymaint dros ben, yr hyn a renid i'r tlodion, a chan nad oedd ysgrifenydd i gadw cyfrif o'r derbyniadau a'r taliadau, cymerai Judas fantais oddiar hyn i roddi aml geiniog o'r neilldu yn ei boced ei hun. Fel hyn er fod yr Iesu yn dlawd ei hun, heb feddu ar dyna chartref ar y ddaear, eto cadwai ei hunan yn hollol ar wahan oddiwrth y tlodi cardotlyd diymdrech a digymorth oedd ar hyd y wlad.

ddychymygu ei fod yn arfer rhyddid na pherthyn iddo, er mwyn arbed ei geiniog, ac hefyd rhag i Pedr dori ei air, y mae efe am ei thalu, gan ddarpar pethau onest yn ngolwg pob dyn. Nid oes son am gyflawniad y wyrth, ond mae'n gwbl sicr iddi gael ei gwneyd, a'r dreth gael ei thalu dros yr Iesu a thros Pedr hefyd.

Mae yn amlwg fod yr Iesu, pan ar ei ffordd i'r ddinas, wedi siarad yn eglur wrth ei ddysgyblion am ei ddyoddefiadau dyfodol a'r canlyniadau o honynt, ac y mae ei eiriau yn gwneyd argraff fwy dwfn ar eu meddyliau na dim a ddywedasai yn flaenorol. Casglent oddiwrth rai o'i ymadroddion fod y deyrnas ar gael ei gosod i fyny, ac yn bur naturiol ceisient bob un drosto ei hun am y lle uchaf ynddi, a'r Iscariot, feddyliem, a'i lygaid ar adran y trysorlys—pob un a'i hawl ac yn dadleu yn frwd rhyngddynt a'u gilydd. Er cymaint o fantais a gawsent i ddeall fod eu Hathraw yn hollwybodol, eto pan daethant i'r ty, mae yn amlwg eu bod yn tybied nad oedd efe yn gwybod dim oll am eu hymrysonfa ar y ffordd, oblegid yr oeddynt yn sicr nad oedd efe wedi clywed un gair o honi. Ond wedi eu cael oll yn nghyd, galwodd hwy i gyfrif, gan roddi gwers dda iddynt trwy alw bachgenyn—gwr bach o ddwy i dair blwydd oed dybygem—oedd yn dygwydd bod yn agos. Parai iddynt edrych ar y bychan gwirion, wyneb agored, heb ddim uchelgais yn agos ato, yn gwbl foddlon ar y byd fel yr ydoedd, a dywedai yr Athraw wrth ei ddysgyblion, mai y tebycaf o honynt i hwnw fyddai y gwr mwyaf yn ei deyrnas ef.

Tra yr arosodd yr Arglwydd Iesu yma, galwodd yn nghyd ac anfonodd allan y deg dysgybl a thriugain bob yn ddau a dau i'r manau yr oedd efe ar fedr myn-

ed; a chan ei fod ar fedr myned yn fuan trwy Samaria, ar ei daith i Jerusalem, mae yn lled amlwg eu bod hwythau i gyniwair trwy y dalaeth hono, ac hwyrach i Perea hefyd, rai o honynt. Yr oedd eu nifer mawr yn cyfeirio yn sicr, dybygem, at y cenedloedd, a'u cenadwri syml hwythau ydoedd fod teyrnas Dduw yn nesau. Plaen a diaddurn iawn raid fod eu pregeth; rhyw beth yn debyg i bregeth yr hen Jonah o ran ei hyd a'i lled, ond eu bod hwy yn rhydd oddiwrth dôn anniddig a'r drwg dymer ag oedd yn yr hen broffwyd. Nid oedd eu cenadwri yn cynwys athrawiaethau dyfnion yr efengyl a gyhoeddwyd am y waith gyntaf ar ddydd y Pentecost, pan dywalltwyd yr Ysbryd Glan; dim ond cyhoeddi fod teyrnas Dduw wedi nesau, a galw pawb i ymbarotoi, tynu sylw pawb trwy iachau cleifion a bwrw allan gythreuliaid yn y manau lle nad oedd yr Arglwydd Iesu ei hun na'r deuddeg dysgybl wedi bod ar eu teithiau. Mae yma awgrymiad yn sicr, fod y cenedloedd i gael rhan yn y deyrnas; fod gwahoddiad a chroesaw iddynt hwythau i'r swper mawr.

Dychwelodd y deg a thriugain yn ol yn llon eu hysbrydoedd i gyfarfod a'u Hathraw yn Jerusalem yn y gysegrwyl, dybygem, ac adroddent iddo y gwrolwaith oeddynt wedi ei gyflawni yn ei enw ef. Y mae rhyw gymaint o swn bôst yn eu llais, ac y mae yr Arglwydd Iesu yn dirion yn cyd-ddwyn â hwynt yn eu teimlad uchel a siriol, ond yn awgrymu iddynt beidio a meddwl llawer mwy o honynt eu hunain o herwydd hyn, ond am iddynt lawenhau yn hytrach am fod eu henwau yn ysgrifenedig ar lyfr y bywyd.

## PENNOD XVII.

*Yr Iesu yn troi ei gefn ar Galilea—Yn cychwyn i Jerusalem i'r wyl--Glanhau y deg gwahangleifion—Y dyn dall o'i enedigaeth.*

Yr amser hwn mae yr Arglwydd Iesu yn troi ei gefn am y waith olaf ar Galilea, ac ar ei hoff rodfeydd ar hyd graian glanau môr Tiberias. Mae'n wir iddo fod yma am ychydig ar ol ei adgyfodiad, ond ni weloddd neb ond credinwyr ef yno ar ol hyn. Wedi tair blynedd o lafur caled, yr oedd yn gorfod troi ei wyneb oddiwrthynt, a'i berson fel Messiah, a'i weinidogaeth hefyd, wedi eu gwrthod gan gorff mawr y wlad; dim ond ambell un, mewn cydmariaeth, wedi ei dderbyn. Yr oedd Gwyl y Pebyll, sef yr un ar ol y trydydd Pasg wedi dechreu ei weinidogaeth, yr awr yn nesau, ac yntau yn parotoi i fyned i fyny i Jerusalem i'w chadw. Os nad ydym yn camgymeryd, yr oedd yn tynu at ddeunaw mis er pan y buasai yno ddiweddaf. Yr oedd ei frodyr y rhai nad oeddynt yn credu ynddo fel Messiah, ond heb fod mewn un modd yn elynol iddo, yn awyddus am iddo ddod gyda hwy i'r wyl. Rhoddent awgrymiad iddo fod ar ei ganlynwyr yn Judea, angen ei bresenoldeb, er cadarnhau eu ffydd ynddo. Yr oedd hyn yn ddiau yn cuddio amcan dirgelaidd arall oedd mewn golwg ganddynt. Yr oeddynt yn methu dirnad, os efe oedd y Messiah, paham yr oedd yn aros o hyd yn ardaloedd anghyoedd Galilea, yn lle myned i Jerusalem, eisteddle y llywodraeth, lle y byddai ei wyrthiau a'i bregethau yn llawer mwy cy-

hoeddus. Yr oeddynt hwy am iddo fyned yno a honi ei hawl i deyrngadair Dafydd, gan ddysgwyl y byddai iddynt hwythau, ei berthynasau agosaf, gael rhyw fantais trwy hyny. Eithr nid eu meddyliau hwy oedd ei feddwl ef, ac y mae yn canfod eu hamcan yn y man. Nid yw yn dywedyd nad äi i fyny i'r wyl o gwbl, ond am iddynt hwy fyned yn mlaen a pheidio dysgwyl wrtho ef. Gallent hwy fyned a dyfod yn ddiogel pan y mynent, ond yr oedd efe mewn perygl bob awr oddiwrth ei elynion.

Yn mhen ychydig aeth yntau i fyny, ond yn fwy dirgelaidd, ac ar hyd llwybr gwahanol i'r un yr oedd y miloedd yn ei deithio, fel na chai ei elynion un esgus i'w gyhuddo ei fod yn blaenori y lluaws. Cymerodd efe yr un llwybr ag yr aethai i fyny y tro y bu yn ymddyddan â'r wraig wrth y ffynon, sef trwy ganol Samaria. Pan ar ei daith, anfonodd rai o'i ddysgyblion o'i flaen i bentref gerllaw i brynu ychydig luniaeth; ond gwelai y Samariaid ei fod a'i wyneb tua Jerusalem i gadw yr wyl Iuddewig, ac mae eu hen elyniaeth tuag at yr Iuddewon a'u gwyliau yn berwi dros y llestr, ac ni chai efe na'i ganlynwyr gymaint a thamaid o fara am eu harian. Digiodd Iago ac Ioan, "Meibion y Daran" gymaint wrth y Samariaid am hyn, fel y gofynasant i'w Meistr am dân o'r nef i'w dyfetha bob un. Hwyrach i'r syniad am dân o'r nef ddod i'w penau am eu bod efallai, yn agos i'r llanerch y galwasai Elias gynt am dân o'r nef i ddyfetha y cenadau anfonasai brenin Israel i'w ddal. Pwy hefyd, fuasai yn meddwl am Ioan, y dysgybl anwyl, yr hwn yr oedd yr Iesu mor hoff o hono, y buasai mor galon-galed a hyn. Ond y mae yn eglur mai mewn profedigaeth chwerw

yr oedd y bachgen. Yr oedd eisiau bwyd arnynt hwy, a'u Harglwydd efallai, a digon gan y Samariaid, ond eu bod o wir genfigen a natur gas yn gwrthod ei werthu. Pwy ond yr Iesu a fuasai yn dal y prawf ac yn ateb mor addfwyn, "Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych; ni ddaethym i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw?"

Fel yr oedd ar ei lwybr yn mlaen yn myned i dref arall, cyfarfu a deg o wahangleifion, naw o Iuddewon, ac un Samariad wedi ei ddwyn i'r un gymdeithas druenus. Yn ol rheol y gyfraith safent o hirbell, a than deimlad dwfn o'u truenusrwydd, yn nghyd a rhyw obaith, o leiaf, am iachawdwriaeth i'w clefyd anaele, gwaeddasant ag un llef, "Trugarha wrthym." Yr oeddynt oll o ddifrif yn gwaeddi, er i naw o honynt fod yn fyr o ddiolch ar ol hyny.

Mae yn deilwng o sylw yma eto, fel yr oedd y Meddyg mawr yn gwahaniaethu y driniaeth at y cleifion a ddelent ato. Fel physygwr da, mewn doethineb a thynerwch, amrywiai y driniaeth at amrywiaeth angen y gweiniaid. Weithiau pan y byddai ffydd gref, afaelgar, gan y claf, ymataliai am yspaid heb ei helpu fel ag i'w thynu allan a'i chryfhau; ond lle byddai ffydd wan, wan, bron rhy lesg i symud nac anadlu, y mae yn cyfarfod a'r fath yma haner y ffordd, rhag iddi fethu yn llwyr. Weithiau maddeuant yn gyntaf, yna iachad; bryd arall nid oedd dim a gyrhaeddai y galon ond derbyn iechyd corfforol. Iachâi hwnw yn gyntaf, yna gweinyddai ymgeledd i'w ysbryd. A thebygol fod syniad o'r fath yn yr amgylchiad hwn, onide, paham yr oedd yn anfon y rhai hyn ymaith cyn eu glanhau, gan orchymyn iddynt fyned a'u hebyrth i'r deml.

Yr oedd ffydd y rhai'n fel hyn yn cael ei rhoddi i brawf llym. Gorchymynodd iddynt wneyd yr hyn oedd yn ddyledus iddynt wneyd wedi eu glanhau cyn bod un arwydd o lanhad arnynt. Yr oeddynt i gymeryd taith, nid yn unig a fuasai yn gwbl ofer, ond a fuasai yn eu dwyn i warth pe buasai geiriau yr Iesu yn troi allan yn fethiant. Y mae eu gwaith yn troi eu hwynebau tua Jerusalem ac yn cychwyn eu taith, yn dangos fod ganddynt ymddiried cryf yn y Meddyg, er i'r rhan luosocaf o honynt ar ol hyny, yr ydym yn ofni, fethu cyraedd dim pellach na iachad corfforol yn unig. Pan anfonodd efe hwynt at yr offeiriaid, nid allai fod ynddynt un dysgwyliad am help gan y rhai hyny, oblegid nid gwaith yr offeiriad oedd gwella, eithr cyhoeddi y claf a wellasid yn iach, a myned trwy y seremoni o olchi a phuro yn ol y ddeddf, fel y cai y dyn dderbyniad yn ol i gymdeithas. Yr oedd eu bod wedi myned o olwg yr Iesu yn eu rhoddi yn agored i brofedigaeth ag oedd yn arwain yn syth i'r pechod cas o anniolchgarwch, a syrthiodd y dynion hyn i'w ganol yn y man. Ni buasai yn costio ond ychydig lafur iddynt i droi yn ol i ddiolch i'r Meddyg oedd wedi eu hiachau yn rhad. Yr oeddynt wedi myned o'r golwg, a rhyw gymaint ar eu taith tua Jerusalem, cyn cael iechyd, ac yna pob un i'w ffordd ei hun mae'n debyg.

Barna rhai i'r Samariad fyned i'r ddinas ac offrymu dros ei lanhad, ac yna dychwelyd i ddiolch iddo. Dyma yr oll a allasai y truan tlawd ei wneyd, a dyma yr oll hefyd oedd yn dderbyniol gan y Meddyg. Yr argraff a adewir yn naturiol ar y meddwl wrth ddarllen ydyw, iddo, y foment y teimlodd fod ei hen glefyd wedi ei adael, droi yn ol yn y man. Nid oedd efallai

wedi myned yn mhell o'r pentref, fel nad oedd ond trafferth fach iddo ef ac i'w gymdeithion mewn cystudd, pe clywsent ar eu calonau wneyd, i ddod yn ol a thalu diolch i'r Iesu. Pechod tra chyffredin yn ein byd ni ydyw anniolchgarwch, ac un o'r rhai bryntaf, duaf, yn y rhestr ddu. Colledodd y naw hyn eu hunain yn ddirfawr, oblegid mae y Samariad yn derbyn bendith newydd anfeidrol fwy ei gwerth. Nid oedd y gyntaf ond cyraedd y corff; ond yr oedd yr ail fendith yn cyraedd gwraidd yr afiechyd ag oedd yn gorwedd yn ddwfn yn yr enaid. Gall y llygad ei ddylyn yn troi yn ol tuag adref; edrycher arno, mae rhywbeth yn ei gerddediad, yn osgo y dyn yn dangos ei fod yn teimlo yn dda ryfeddol.

Cyrhaeddodd yr Arglwydd Iesu Jerusalem tua chanol yr wyl, ac aeth i fyny i'r deml gan ddechreu dysgu y bobl. A'r pryd hwn dybygem y llefarodd efe y seithfed benod o Ioan, ymadroddion yn disgyn fel yr ufel llosgedig ar benaethiaid drygionus yr Iuddewon, a phe buasent yn meiddio, buasent yn ei ladd yn y man. Ond yr oedd amddiffyn Duw drosto fel nad allai neb gyffwrdd ag ef hyd nes delai yr awr apwyntiedig i fyny, ac yr oedd eto tua chwe' mis cyn y delai hyny i ben.

Tua'r pryd hwn, dygwyd o'i flaen wraig a ddaliesid yn y weithred o odinebu. Dywedent, a hyny yn gywir, fod Moses yn gorchymyn llabyddio y cyfryw. "A beth meddi di?" oedd y cwestiwn. Eu hamcan oedd cael rhywbeth yn ei erbyn os oedd yn bosibl, a thybient yn sicr ei fod yn eu gafael yn awr, oblegid pe buasai yn ei chondemnio, buasent yn ei gyhuddo o ail roddi grym mewn hen gyfraith galed oedd wedi myned

o arferiad, ac hefyd o ymyraeth â swydd barnydd gwladol; a phe buasai yn erchi ei gollwng yn rhydd, buasent yn rhoddi i'w erbyn ei fod yn ffafrio anniweirdeb a godineb. Gwelai yr Iesu eu rhwyd mor amlwg ag y gwelai eu hwynebau hwythau, ac i'w gochelyd cymerodd lwybr sydd yn dangos ei fod yn meddu doethineb pell uwchlaw dynol. Yn lle dweyd gair mewn atebiad i'r gofyniad maleisus, ymgrymodd tua'r llawr gan ysgrifenu a'i fys yn y llwch, heb gymeryd arno eu clywed. Yr oedd efe fel hyn yn tynu ei lygad oddi arnynt; ond parhaent i ofyn yr un peth iddo, yna efe a ymuniawnodd ac a ddywedodd yn dawel, "Pwy bynag sydd ddibechod o honoch, tafled yn gyntaf gareg ati." Cymerodd ei lygad oddiarnynt drachefn er rhoddi hamdden i'r saeth a ollyngasai at eu cydwybodau, gael ychydig amser i effeithio, a bu dda ganddynt gael cyfle i ddianc o'r lle heb ei fod ef yn edrych arnynt, rhag ofn y buasai yn eu dynoethi yn fwy drachefn. Ymuniawnodd yr Iesu eilwaith wedi iddynt oll fyned allan—sef y cyhuddwyr yn ddiau, oblegid yr oedd y dorf eto yn aros—a gofynodd i'r wraig, "Pa le mae dy gyhuddwyr di—oni chondemniodd neb di?" "Naddo, neb, Arglwydd," hi a atebai. "Nid wyf finau yn dy gondemnio," meddai yntau. Nid oedd yn ei chondemnio i farwolaeth yn ol deddf Moses, er ei fod yn mhell oddiwrth ei chyfiawnhau am ei gweithred aflan. Yna dywedai, "Dos, ac na phecha mwyach."

Yn dylyn hyn mae yr addysgiadau a gawn yn Ioan 8fed, yn cael eu traddodi ganddo, a rhyfedd fel y mae ei ymadroddion clir yn taflu goleu tanbaid ar wrthnysigrwydd y dynion hyn. Nid oedd arnynt eisiau

deall; ni fynent ddeall. Yr oedd yma gymysgedd arswydlawn o anallu ac o wrthdarawiad yr ewyllys i ddeall yr hyn a ddywedai, er fod ei eiriau o'r canlyniadau mwyaf pwysig. Cynddeiriogai ei ymadroddion y penaethiaid gymaint fel y mynent ei ddal, ond diangodd allan o'u dwylaw na wyddent pa fodd.

Wedi hyn daeth un o'r cyfreithwyr ato gan ofyn yn rhagrithiol, "pa beth a wnai i gael bywyd tragwyddol," ac yn ei atebiad, traddododd yr Iesu y dernyn tlws digyffelyb hwnw, sef dameg y Samaritan tosturiol a'r gwr a syrthiasai yn mysg y lladron ar y ffordd rhwng Jerusalem a Jericho. Un o'r gemau prydferthaf hyd yn nod yn y pedair efengyl ydyw y ddameg hon. Wyr ieuainc a gwyryfon hefyd, darllenwch hi eto, a sefwch mewn myfyrdod uwch ei phen. Mae'n wir fod iddi ochr dywell, ddu, ond hyn sydd yn peri i'r ochr oleu ddisgleirio mor danbaid. Wele Iuddew a gwedd barchus arno, yn teithio o Jerusalem tua Jericho—wedi bod yn y deml yn addoli, efallai—a phan oedd mewn cwm cul, creigiog, tywyll, anial, wele fintai o ladron yn dod o'u ffau ac yn ymosod arno gan ei yspeilio o'r oll oedd ganddo, ac yn ei archolli yn dost a'i adael ar y ffordd yn noeth a haner marw. Ond, yn ffodus, fel y gellid dysgwyl, wele offeiriad, un o weinidogion cysegr Duw, yn nesau i'r fan ar ei ffordd adref i Jericho. Câ y truan gwan yn ddiau bob cydymdeimlad ac ymgeledd ag y gall gwr Duw weinyddu i'w gyddyn. Ond pan ddaeth i'r man wele ef yn myned o'r tu arall heibio, gan furmur rhyngddo ag ef ei hun, fod y dyn wedi ei anafu yn dost, ac y byddai farw yn fuan, fod y lle yn beryglus ac fod raid iddo brysuro rhag i'r lladron gael gafael ynddo yntau, ac ymaith

ag ef. Ond wele Lefiad yn nesau, un o wyr y deml eto. Yr oedd efe beth yn is mewn swydd, a mwy o gydymdeimlad ynddo. Aeth hwn eto heibio yr ochr arall heb gymaint ag edrych a oedd anadl yn y dyn. Yr oedd ganddo yntau reswm i'w foddloni ei hun dros ei ymddygiad, efallai, ond anghofiodd y ddau eiriau y proffwyd, "Trugaredd yr ydwyf yn ei ewyllysio, ac nid aberth."

Wele eto ddyn yn dyfod o gyfeiriad arall; beth a wna hwn? Fel y mae yn nesâu, canfyddir wrth ei wedd a'i ddiwyg mai Samariad ydyw, gan hyny, ofer dysgwyl dim oddiwrtho ef, oblegid pe buasai yr Iuddew archolledig yn iach, buasai yn ei ddiystyru yn ei galon wrth ei gyfarfod ar y ffordd, a gwyddai y Samariad hyny yn dda. Daeth i'r fan, canfyddodd yr olygfa a llanwyd ei enaid o dosturi tuag at ei gydddyn archolledig. Dechreuodd rwymo ei archollion, tywalltodd win iddynt i'w glanhau, ac olew i liniaru y boen, ac yna cyfododd y gwr ar ei anifail ei hun, a chymerodd ef i lety y fforddolion, ac yno tynodd allan ddwy geiniog, ei gyflog ei hun am ddau ddiwrnod o waith caled, efallai, a digon i gynal y dyn gofidus am lawer o ddyddiau; ac i goroni y cyfan, dywedai wrth y lletywr am ofalu am dano nes iddo ymiachâu, ac y gofalai yntau am iddo gael ei dâl.

Anhawdd darllen y geiriau heb i'r meddwl fyned dros pob peth at yr Iesu ei hun. Pa sawl dengwaith y gwelsom ef yn rhwymo y rhai ysig eu calonau. Ie cymerodd ei ddryllio ei hunan i'n iachau ni. Byddai yr hen dadau eglwysig yn ymwylltio, yn anghofio eu hunain uwchben yr ymadroddion hyn. "Ystori cariad" y galwent hi, oblegid yr Iesu ei hunan a welent

hwy yn y Samariad trugarog. Yr oedd llawer o ddychymygion digrifol yn eu sylwadau, eto dangosent ysbryd tra rhagorol. Yr ydym yn cofio yn dda pan y darllenasom y paragraff hwn gyntaf erioed; gadawodd y pryd hwnw y fath argraff ar y meddwl fel y mae yn dda genym am y Samariad hyd heddyw. A pha faint o ddaioni a wnaeth yr hanesyn, neu y ddameg hon yn ein byd o amser ei llefariad hyd yn awr, yr Hollwybodol yn unig a wyr. Pa sawl ffynon hyfryd o elusengarwch a agorodd yn y fynwes ddynol a'u ffrydiau yn tarddu allan yn afonydd? Pa nifer o sefydliadau enwog anwyl y bu yn achos eu gosod i fyny, na buasai y ddynoliaeth lygredig byth yn meddwl am danynt oni buasai hi?

Wedi hyn gadawodd yr Arglwydd Iesu y ddinas gan fyned i dref fechan Bethania, gerllaw Jerusalem, ac am y waith gyntaf, am ddim hanes sydd genym ni, aeth i mewn i dy Martha, Mair, a Lazarus, ty a theulu à hynodwyd yn fawr ar ol hyn yn eu cysylltiad a'r Duw-ddyn. Y pryd hwn y mae yr ymadrodd hynod hwnw y clywsom gymaint o bregethu da arno yn diferu dros ei wefusau sanctaidd, "A Mair a ddewisodd y rhan dda yr hon ni ddygir oddi arni." Cawn gyfarfod a'r teulu anwyl hwn eto ar ein ffordd yn mlaen.

Yr un adeg, neu yr un diwrnod Sabboth ag y cyhuddwyd y wraig odinebus o'i flaen, efe a agorodd lygaid dyn a anesid yn ddall. Yr oedd y dyn hwn mae yn eglur, yn dra adnabyddus yn y ddinas, fel cardotyn a arferai fod ar gonglau yr heolydd ac yn nghymydogaeth y deml yn gofyn elusen. Hwyrach hefyd fod dyweyd ei fod yn ddall o'i enedigaeth, yn rhan o'i ystori gwynfanus er cynyrfu tosturi y lluaws oedd yn

dylifo heibio, a thynu elusen oddiwrthynt. Mae gofyniad o'r fath a roddodd y dysgyblion ar y pryd i'w hathraw yn dra naturiol, sef, "Pwy a bechodd, ai hwn ai ei rieni, fel y genid ef yn ddall?" Pa beth yn gymwys a feddylient, sydd wedi peri cryn dipyn o drafferth i aml esboniwr da; os tybir mai ei bechod ei hun, rhaid ei fod wedi pechu cyn ei eni. Dywed rhai fod trawsfudiad yr enaid o gorff i gorff yn rhyw syniad diffurf ganddynt, ac y gallai fod enaid y dyn hwn wedi pechu mewn corff arall yn achos o'i ddallineb. Dywed Lightfoot eu bod yn dal fod plentyn yn pechu yn y groth, gan gyfeirio at Esau a Jacob. Tybia Tholuck mai cyfundraeth y dysgyblion oedd fod Duw yn rhagweled rhyw bechod mawr a gyflawnid gan y dyn hwn, ac yn ei ragflaenu a chosp. Tybia Chrysostom eto, mai ceisio dadleu afresymoldeb y gosp o gwbl yr oeddynt. Nid allasai fod yn gosp am bechod y dyn ei hun, oblegid ganesid ef yn ddall, ac nis gallasai fod yn gosp am bechod ei rieni ychwaith, oblegid y mab ni ddwg anwiredd y tad. Ond prin y meddyliem fod un o'r fath syniadau yn dod oddiwrth ddynion syml fel yr apostolion. Hawddach genym gredu nad oeddynt yn canfod eu hanghysondeb eu hunain ar y foment, eithr yr oeddynt yn ddigon craff i ganfod y cysylltiad rhwng pechod a chosp. Nid ydyw yr Iesu yn gwadu pechod y rhieni na'r mab, ond yn troi meddwl y dysgyblion oddiwrth yr arferiad niweidiol o geisio treiddio i ddirgelion calonau dynion ereill, ac fel cyfeillion Job, i farnu ei fod yn bechadur mawr, o herwydd ei fod yn ddyoddefydd mawr. Nid yw, fel pe dywedasai, y dallineb hwn yn gosp am un pechod neillduol o eiddo hwn na'i rieni, ond fel yr eglurid gweith-

redoedd Duw ynddo ef. Cynllun y Duw trugarog oedd defnyddio ei ddallineb naturiol am dymor i fod yn foddion i'w ddwyn i afael iachawdwriaeth dragywyddol; fel y caffai yr haul naturiol a haul cyfiawnder dywynu arno ar unwaith. Talodd yn dda i'r gwr hwn gael ei eni yn ddall a chael ei gadw am yspaid yn amddifad o oleuni naturiol.

Meddai yr Iesu, "Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd tra y mae hi yn ddydd, y mae y nos yn dyfod pryd na ddichon neb weithio." Yr oedd ei "ddydd," y tymor byr oedd ganddo i weithio a theithio, bron ar ben, a'r nos, pryd na byddai efe yn y byd i'w oleuo, yn nesâu. Benthyciai yr Arglwydd Iesu y drychfeddwl hwn oddiwrth ddiwrnod gwaith. Y dydd ydyw yr amser naturiol i weithio, a'r nos i orphwys, a pha waith mor briodol iddo ef ei wneuthur ag agor llygaid y dall? Tra yr ydoedd yn y byd, goleuni y byd ydoedd, a pha orchwyl mor ddarluniadol o oleuo tywyllwch ysbrydol y meddwl dynol, a rhoddi ei olwg i ddyn o'r fath? Wedi dywedyd hyn, plygodd i lawr a phoerodd ar y ddaear, gan wneyd ychydig glai, ac â hwnw irodd lygaid y dyn. Byddai yn ffolach na ffolineb i ddweyd fod yr Arglwydd Iesu yn arfer cyfferiau meddygol gyda ei allu dwyfol. Nid oedd y clai ond cyfrwng i'w anfeidrol allu a'i ras lifeirio allan. Cawn ef yn cyflawni yr un gyffelyb weithred heb foddion o gwbl. Yr ydoedd i'r moddion hyn er hyny eu dyben, sef cryfhau ffydd egwan y dyn trwy beri iddo deimlo fod rhywbeth ar gael ei wneyd i'w iachâu. Mae ei ufudd-dod parod yn profi fod ei ffydd yn dangos arwyddion bywyd, oblegid y mae yn cychwyn tua llyn Siloam yn y man.

Pan yn dychwelyd mae ei gydnabod yn sylwi yn fuan ar y cyfnewidiad dyeithr oedd arno. Amheuent ac ymholent ai efe oedd yr un a anesid yn ddall, obleg-id yr oedd agoriad ei lygaid wedi ei wedd-newid a rhoddi bywyd newydd yn ei wynebpryd nad oedd yno o'r blaen. Gwyddom fod yn anhawdd adnabod y rhai ydym fwyaf adnabyddus o honynt pan y bydd eu llyg-aid yn gauad. Yr oedd y cyfnewidiad yn gymaint yma yr ochr arall. Wedi dod i sicrwydd mai efe yd-oedd, y maent yn naturiol iawn yn awyddus i wybod pa fodd y cawsai ei olwg. Ymddengys mai cymydog-ion diddichell oeddynt, eto o dan ddylanwad y Phari-seaid. Daethant ag ef at eu harweinwyr ysbrydol heb un amcan cas tuag at y dyn ei hun na thuag at yr Iesu. Ond gallwn feddwl fod gradd o betrusder yn eu medd-yliau o berthynas i gyfreithlonrwydd y weithred ar y dydd Sabboth. Gofynent i'r dyn beth a dybiai efe; mae yntau yn ateb mai proffwyd, sef un wedi ei awd-urdodi gan Dduw ydoedd. Nid oedd efe hyd yma wedi cyraedd y syniad mai Mab Duw, mai y Messiah ydoedd; ni feddyliai eto, am darddiad uchel ei gym-wynaswr mawr.

Ond yn fuan cafodd gelynion yr Iesu afael ar y dyn, a mynent ei droi gyda hwy i gablu yr Iesu, ond y mae y gwan yn cael grym i sefyll yn erbyn y gelynion hyn yn ddigryn. Maent yn gorchymyn i'w rieni ddod o'u blaen, gan hyderu bod yn fwy llwyddianus gyda hwy er taflu amheuaeth o flaen y torfeydd nad oedd y dyn wedi ei eni yn ddall. Dengys atebiad y tad a'r fam na fynent fod yn gyfranog mewn twyll, eto heb fawr o awydd i ddwyn tystiolaeth gref eglur o blaid y gwir-ionedd, a chymerent fantais o'r ffaith ei fod ef ei hun-

an mewn oedran i ateb drosto ei hun, er mwyn peidio myned i mewn i'r ddadl. Gan nad allent ddwyn tystiolaeth i'r gwirionedd heb fod yn ffafriol i'r Iesu, a thrwy hyny beryglu eu hunain, dewisent dewi. Ymddengys fod y dyn wedi ei symud o'u gwydd tra yr oeddynt yn holi y rhieni; ac wedi darfod â hwy, y maent yn ei alw ef drachefn, a mynent iddo gredu eu bod hwy wedi cael y twyll allan, ac mai ofer oedd iddo yntau geisio ei gelu mwy. Awgryment iddo eu bod hwy yn gwybod am yr holl gyngrair a'r ddyfais, "Dyro dithau y gogoniant i Dduw trwy gyfaddef yr holl wir." Nid dyro y gogoniant i Dduw yn lle i'r dyn hwn am dy iachad a feddylient, dybygem, oblegid nid oeddynt yn cydnabod fod gwellhad wedi cymeryd lle o gwbl, ond mai twyll rhwng y dyn a'r Iesu oedd y cwbl. Ei dynghedu trwy Dduw yr oeddynt i gyfaddef yr hyn oedd, meddynt, yn hysbys iddynt hwy o'r blaen; yn gyffelyb ag y dywedai Josua wrth Achan gynt. Jos. 7 : 19. Mynent lethu y dyn truan â'u haeriadau digywilydd fel hyn, ac ategu eu haeriadau ag awdurdod eu swydd fel blaenoriaid y genedl. Ond cawn fod y dyn hwn a anesid yn ddall, ac a dreuliasai ei holl oes yn gardotyn—cyflwr ydoedd yn ddigon i ddarostwng i'r llwch y meddwl mwyaf annibynol—yn ddyn gwrol, o feddwl clir, parod, ac yr ydym yn mawr hoffi ei olwg yn sefyll mor syth o flaen y cyngor mawreddig ond drygionus hwn. Yr oedd yn ddigon ffêl i wrthod myned i mewn i'r ddadl a'i pechadur oedd yr Iesu ai nade, eto nid yw yn gollwng un fodfedd gyda hwy mai pechadur oedd ei gymwynaswr mawr. Dywedai, "Nid wyf fi yn gwybod hyn." Ond yr hyn a wyr, fe'i gwyr cystal a neb, a chaent hwy-

thau dynu y casgliad a ddewisent. Gwyr yn ddigon da mai dall a fuasai ef trwy ei oes, ac na welsai olwg ar haul na daear hyd y foment y cyfarfyddodd â'r hwn yr oeddynt hwy yn ei gablu, a'i fod yn awr yn gweled mor glir ac mor bell a neb o honynt.

Canfyddai y cyngor nad allent wneyd dim y ffordd hon. Gorchymynent i'r dyn ail adrodd yr hanes, gan ddysgwyl, efallai, iddo groes-ddweyd ei hun mewn rhyw air fel y gallent gael gafael ar rywbeth i'w droi yn ei erbyn ac yn gyhuddiad yn erbyn yr Iesu. Ond y mae y dyn yn blino ar eu holiadau, ac y mae swn felly yn ei lais, "Mi a ddywedais i chwi, ac nid ydych yn credu, paham y mynech glywed eilwaith, a fynech chwithau hefyd fod yn ddysgyblion iddo ef?" Nid allwn ni, mae yn wir, ganfod y llecyn y mynai y dyn daro yr ergyd hon, ond y mae yn eglur ei fod ef yn canfod y man yn gymwys, a'u bod hwythau yn teimlo yr ergyd i'r byw. Hwyrach ei fod yn cymeryd arno eu camddeall, yn gofyn eilwaith, fel pe dywedasai, A ydyw y gwirionedd yn dechreu eich henill chwithau o'i blaid, fel y dymunech chwi yn awr i'r stori fod yn wir. Nid allasai eu trywanu yn ddyfnach na thrwy daflu yr amnaid lleiaf yr ewyllysient hwy y fath beth. Dywedent yn sarug mai dysgyblion Moses oeddynt hwy; gwyddent, meddent hwy, fod Duw wedi ymddangos i Moses, ond am y dyn hwn ni wyddent hwy o ba le yr ydoedd. Y mae y cyfaddefiad hwn o'u hanwybodaeth am weithred mor fawreddig a rhyfeddol, yn rhoddi mantais deg i'r dyn gyraedd ergyd arall i bwrpas arnynt, ac y mae y dyn syml, ond tra pharod hwn, yn ei chanfod ac yn ei defnyddio mewn moment. "Yn hyn mae yn rhyfedd," meddai; "dyma ddyn yn meddu

gallu goruwchnaturiol, wedi agoryd fy llygaid i, a anwyd yn ddall, ac ni wyddoch chwi, arweinwyr y bobl, o ba le y mae. Dylech allu profi yr ysbrydion, ai o Dduw y maent; ond wele chwi yn cydnabod na wyddoch pa un ai oddi uchod ai o'r dyfnder y mae. Eithr mi a wn, oblegid tystiasoch chwi fynyd yn ol nad ydyw Duw yn gwrando pechaduriaid, ond y mae wedi gwrando a galluogi hwn i gyflawni gweithred ddigyffelyb, ac o herwydd hyny mi a wn mai o Dduw y mae."

Rhyfedd fel y mae gwroldeb a ffydd y dyn wedi cynyddu ar ol dechreu yr ymddyddan. Y mae efe yn troi y byrddau yn deg ar ei boenydwyr, ac y mae ei drosedd bellach yn anfaddeuol. Nis gallent ei ddenu na'i ddychrynu i ateb eu hamcan, a chan hyny bwriasant arno genllif o ddifriaeth. "Tydi, yr hwn a ddaethost o groth dy fam a nodau drygioni ar dy wyneb," meddynt, "a wyt ti yn beiddio barnu mewn achos fel hwn, a'n dysgu ni?" Yna bwriasant ef allan o'r synagog; nid o'r llys, ond o'r synagog, yn unol a'r bygythiad a gyhoeddasent o'r blaen, os cyfaddefai neb mai yr Iesu oedd y Crist. Dylynid ef felly â melldith a rheg. Ni oddefid i neb ddal un gymdeithas ag ef na thosturio wrtho, hyd yn nod ei berthynasau agosaf. Ac os parhâi yn gyndyn, bwrid ef allan o fysg pobl yr Arglwydd, rhywbeth yn debyg i'r hyn y sonia yr Apostol am fwrw y Corinthiad godinebus hwnw i Satan. Clywodd yr Iesu i'r dyn gael ei drin yn arw gan yr awdurdodau, ac fel bugail da aeth ar ol y ddafad i'w dwyn i ddiogelwch. Wedi iddo ei gael, yn y deml dybygem, gofynodd iddo a oedd yn credu yn Mab Duw. Deallai y dyn y gofyniad, ei fod yn gyf-

ystyr a gofyn a wyt yn credu yn y Messiah, ond ni wyddai y dyn am neb yn honi y teitl eto. Yr oedd ganddo y fath ymddiried yn ei feddyg, fel, pwy bynag y dywedai ef ei fod, y byddai yn barod i gredu yn ebrwydd; ac wedi i'r Iesu ei ateb, dywedir ddarfod iddo gredu ac addoli yn y man. Fel hyn tra yr oedd y Phariseaid yn ymgaledu i'w dinystr eu hunain, yr oedd y dyn tlawd hwn yn credu yn Nghrist, a thrwy gredu yn dod yn etifedd teyrnas Dduw. Yn yr adeg hon y llefarwyd y ddegfed benod o Ioan, feddyliem.

---

## PENNOD XVIII.

*Yr Iesu yn y Gysegr-wyl—Yn cilio i Bethania—Marwolaeth Lazarus—Ei adgyfodiad.*

Yr hanes nesaf a gawn am yr Arglwydd Iesu ydyw yn Jerusalem drachefn, yn y gysegrwyl. Nid un o'r gwyliau a sefydlwyd gan Moses ydoedd hon, eithr ordinhad ddynol, wedi ei sefydlu yn goffadwriaeth am gysegriad y deml gan Judas Maccabeus, ar ol ei halogi gan yr hynod Antiochus Epiphanes. Ni wyddom pa fäint o amser oedd rhwng gwyl y pebyll a'r wyl hon. Nid oedd ond ychydig o ddyeithriaid yn dyfod iddi, mewn cydmariaeth i'r hyn ddeuai i'r tair gwyl arbenig. Yr ydym hefyd wedi methu dylyn yr un cam ar yr Iesu rhwng y ddwy wyl. Efallai iddo aros yn Judea.

Wedi dyfod i'r ddinas y mae efe, yn ol ei arfer, yn dysgu y bobl yn y deml, a'r pryd hwn, dybygem, y llefarodd amryw o'i ddamegion, sef dameg y winllan,

y gwr goludog a Lazarus, yn nghyd ag amryw eraill. Deallai y blaenoriaid amcan a chyfeiriad y damegion hyn, ac ymgynddeiriogent yn fwy-fwy, yn ei erbyn. Gofynent iddo eto am arwydd o'r nef. Ni wyddent beth oedd arnynt eisiau, a buasai rhoddi y fath arwydd ar eu cais hwy yn hollol islaw urddas yr Arglwydd Iesu, ac heb fod o un lles iddynt hwythau, dim ond ychwanegu eu gelyniaeth yn ei erbyn. Gan hyny cyfeiriai hwynt at y gweithredoedd nerthol oedd eisoes wedi eu gwneyd yn ngwydd eu llygaid. Ni wrthododd yr Arglwydd Iesu erioed ddim ag oedd yn gydweddol a'i swydd fel y Messiah, a dyben mawr ei ddyfodiad i'r byd. Yr oedd efe yn barod i hyn bob amser, ac yr oedd eisoes wedi rhoddi y profion amlycaf oedd yn bosibl mai efe oedd y gwir Fessiah. Nid oedd ganddo ddim mwy i'w roddi ag y buasai yr annghredinwyr hyn yn ei brisio, gan eu bod yn dibrisio y gweithredoedd nerthol a wnaethai efe eisoes.

Yn ystod y gynadledd gyda'r blaenoriaid y dywedodd efe y geiriau hynod hyny, "Myfi a'r Tad un ydym," yr hyn a barodd i'w nwydau redeg dros y llestri, a chodasant geryg i'w lluchio ato, pryd y gadawodd Jerusalem gan gilio i Bethabara, lle y buasai Ioan ar y cyntaf yn bedyddio. Ymgasglai y torfeydd ato i'r lle neillduedig hwnw, a dysgai yntau hwy yn addfwyn, nes bod llawer yn credu ynddo. Tra yn aros yma, daeth cenad ar frys ato o Bethania, oddiwrth Mair a Martha, i'w hysbysu fod eu brawd Lazarus yn glaf iawn, gan ddysgwyl yn ddiau iddo ddyfod yn ddioed i'w iachau. Yr oedd o leiaf ddeng milldir ar hugain rhwng y ddau le, yr hyn a gymerai ddiwrnod i ddyn i'w cerdded. Ond arosodd yr Iesu ddau ddiwrnod

yn rhagor cyn cychwyn, ac erbyn iddo ef gyraedd Bethania, yr oedd Lazarus wedi marw er ys pedwar diwrnod, a'i ddwy chwaer mewn dygn dristwch a galar ar ei ol.

Buasai yn dda genym mewn rhyw ystyr, gael gwybod llawer yn rhagor am y teulu dyddorol ac anwyl hwn, ond ni rydd yr efengylwyr ddim ond sydd gwbl angenrheidiol er gwneyd yr hanes yn ddealladwy. Yn Luc 10: 35, sonir am Martha fel penteulu ag y byddai yr Iesu yn fynych yn cael croesaw ar ei haelwyd tua y rhan olaf o dymor ei weinidogaeth gyhoeddus; a dywedir ei fod yn hoffi y teulu, sef Martha a'i chwaer a Lazarus. Paham yr oedd yn eu hoffi yn fwy na rhyw deulu crefyddol arall? Diau mai o herwydd eu bod yn fwy lletygar, cyfeillgar, a duwiol, na theuluoedd ereill. Teulu dedwydd, tawel, hoff iawn o'u gilydd, oedd teulu Bethania. Yr oedd eu hanedd y llecyn bychan tebycaf i dy ei Dad, ag oedd ar ein daear ni. Yr oedd teuluoedd y ddinas fawr yn edrych arno gydag amheuaeth, yn gochel ei gymdeithas, yn cilio i mewn o'r ddôr i gysgod y lleni, pan y gwelid ef yn dyfod ar yr heol, rhag dod i anghlod, pe gwelsid hwy yn ymddyddan ag ef; ac o ran teuluoedd Jerusalem, cawsai aros trwy y nos ar yr heol. Ond yn mhentref bychan Bethania, ar aelwyd gysurus, gynes, Martha a'i chwaer, a Lazarus, yr oedd iddo y can' croesaw bob amser; a chyda Mair yn eistedd wrth ei draed, Martha yn brysur yn ceisio gwneyd croesaw priodol iddo, a chyda Lazarus, ei gyfaill, gallwn synied am dano yn cael ychydig orphwysdra, adloniant, ac adfywiad i'w natur, wedi bod wrthi yn y deml ar hyd y dydd, yn cael dywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid. Eithr

er holl letygarwch Martha, a charedigrwydd ei chalon tuag at Fab Duw, prin y caniateir gan aml areithiwr ei bod yn wraig dduwiol o gwbl. Y mae hyn yn rhy ddrwg, yn rhy galed, ar ol ei holl serchawgrwydd a'i thrafferth yn gweini ar y Duw-ddyn. Nid oes yr esgus lleiaf i ddarostwng Martha er dyrchafu Mair ei chwaer dduwiol, lwys, serchog, Yr oedd eu dull o wasanaethu crefydd yn wahanol mae'n wir; Martha trwy ymarferiad gweithgar, bywiog a serchog, a Mair trwy ei thuedd fyfyriol, addolgar. Prin yr ydym yn cydweled â'r rhai a fynant fod yr Arglwydd Iesu yn rhoddi y flaenoriaeth i Mair ar ei chwaer. Ai nid yn hytrach amddiffyn Mair y mae efe, ei bod hithau hefyd wedi dewis y rhan dda? Nis gallwn lai na theimlo yn dda at Martha drafferthus am ei chroesaw i'n Gwaredwr bendigedig. Bydd son a siarad parchus am y ddwy chwaer anwyl hyn, y naill yn gystal a'r llall, pan y bydd y lloer yna sydd yn awr yn taflu ei llewyrch oer ar leni ffenestr yr ysgrifenydd, wedi troi yn waed.

Ond wele gwmwl du wedi gordoi yr anedd syml a dedwydd hon. Mae Lazarus, fel y soniwyd, wedi syrthio yn glaf, ac y mae y chwiorydd yn eu cyfyngder mawr yn troi eu meddwl at eu cyfaill anwyl, yr hwn a welsent yn cynorthwyo eraill mewn amgylchiadau cyffelyb. Eithr y mae efe yn mhell oddiwrthynt, wedi gorfod cilio i lanau yr Iorddonen o gyraedd cynddaredd ei elynion. Gwyddent hwy pa le yr oedd, ac anfonasant genad ato, gyda'r gair, "Arglwydd, mae yr hwn sydd hoff genyt ti yn glaf." Mor brydferth ydyw eu hymddiried ynddo. Nid ydynt yn ei siarsio i ddyfod; teimlent nad oedd eisiau gwneyd hyny, dim

ond adrodd eu cyfyngder; a diau y dysgwylient ei weled yno yn gynar dranoeth. Yr oedd ateb yr Iesu i'r genad, "Nid ydyw y clefyd hwn i farwolaeth," yn brawf tanllyd ar y ddwy chwaer, oblegid rhaid fod Lazarus wedi marw cyn y gallasai y genad gyraedd yn ol. A oedd yn bosibl fod eu cyfaill yn dwyllwr, neu ynte yn cael ei dwyllo? Yr oedd y cyfan yn ddiau yn hollol annirnadwy iddynt hwy ar y pryd, ond daeth yr oll yn ddigon goleu iddynt ar ol hyn. Aros yr oedd efe er mwyn cael mantais i gyflawni y wyrth ryfedd a ganlynodd. Nid oedd ei serch tuag at y teulu anwyl wedi lleihau dim, a rhoddai ef gam yn mlaen i'w cysuro, pan nad allai neb arall wneyd hyny.

Pan oedd pob peth yn barod fel hyn, mae efe yn dywedyd wrth ei ddysgyblion, "Awn i Judea." Y maent hwythau druain yn crynu rhag y canlyniadau, ac yn ceisio ei berswadio i beidio myned eilwaith i ganol y perygl. Credent nad oedd dim ond angau yn aros yr holl gwmniaeth, os aent yn awr mor agos a hyny i Jerusalem; a sylwai Thomas yn drist, "Awn ninau hefyd fel y byddom feirw gydag ef." Dylid cofio hyn er deall ateb yr Iesu iddynt, "Onid oes deuddeg awr o'r dydd," onid ydyw yr haul yn yr entrych, ac yn goleuo am ddeuddeg awr, a gall dyn rodio heb dramgwyddo, oblegid fod yr haul yn oleuni iddo. Diwrnod felly sydd yn awr i mi, diwrnod y gallaf weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd yn ddiogel cyhyd ag y pery y dydd apwyntiedig gan y Tad i mi. Dywedai yr Iesu wrthynt ar y cyntaf, fod Lazarus yn huno; gafaelent hwythau yn awyddus yn yr ymadrodd hwn fel dadl i geisio ei atal i gymydogaeth Jer-

usalem. "Os buno y mae," meddynt, "efe a fydd iach," ac ni bydd angen i ti fyned yno. Dywedasai yr Iesu am ei farwolaeth, tybient hwythau mai hûn cwsg a feddyliai, yr hyn oedd arwydd dda am wellhad. Yna dywedodd yr Iesu yn eglur, "Bu farw Lazarus." Yna y mae efe yn symud anhawsdra a fuasai bron yn sicr o godi yn eu meddwl, sef paham na buasai efe yn myned i'w achub, trwy ddywedyd, "Y mae yn llawen genyf nad oeddwn i yno, er eich mwyn chwi, fel y credoch."

Yr oedd y chwiorydd wedi oedi anfon nes yr oedd eu brawd yn y perygl mwyaf, a bu farw, mae'n debyg, y diwrnod y cychwynodd y negesydd o Bethania, onide prin y gallasai fod yn y bedd er ys pedwar diwrnod pan y daeth yr Iesu atynt. Yr oedd lluaws o gyfeillion y teulu wedi ymgasglu i geisio dyddanu a chydymdeimlo â Martha a Mair. Meddygon diddim oeddynt, mae yn wir, er gwneyd eu goreu, ond y mae y gwir Ddyddanydd, yr hwn a sych ymaith eu dagrau trwy symud yr achos o honynt, yn nesâu. Nid aeth yr Iesu yn mlaen i'r ty; yr oedd hwnw yn llawn annhrefn gan y galarwyr, a lluaws o'r rhai hyny o bosibl yn elynion iddo ef, ac ni ddymunai i'w gyfarfyddiad cyntaf â'r chwiorydd gymeryd lle yn ngwydd torf o'r fath. Tebygol iddo aros ar ffin y pentref, ac nid yn mhell o'r gladdfa lle y dodasid corff Lazarus, oblegtybiai y bobl fod Mair yn myned at y bedd pan yr ydoedd yn myned i gyfarfod yr Iesu. Cyrhaeddodd y newydd glust Martha ryw ffordd fod yr Iesu yn nesâu, a chyfododd yn ebrwydd i fyned i'w gyfarfod. Y mae gradd o swn edliwiaeth yn ei llais, ac y mae yr ychydig ymadroddion sydd yn pasio rhwng y

ddwy chwaer a'r Iesu, yn dangos fel yr oedd ffydd ac anghrediniaeth, gobaith ac anobaith, yn ymryson yn eu mynwesau tyner, ac y mae geiriau yr Iesu wrth Martha, "Adgyfodir dy frawd drachefn," yn mhell o roddi cefnogaeth i ddysgwyl y cyfodid ef yn awr o feirw, eithr yn naturiol yn arwain ei meddwl at y boreu y daw pawb o'u beddau, ac felly y deallodd Martha ef, a theimlai radd mawr o siomiant yn hyny. Ond yr oedd gan yr Iesu da amcan teilwng wrth arwain meddwl y wraig dda hon, pan mewn profedigaeth chwerw, at bethau mawrion y byd tragwyddol, a dwyn ei henaid i ansawdd priodol i edrych ar weithred nerthol oedd ar gymeryd lle. Amcanai yn ddiau hefyd ddyrchafu ei syniadau am dano ef ei hun fel Tywysog y bywyd, yn hytrach na gwneuthurwr gwyrthiau er esmwythâu trallodion y fuchedd bresenol. Nid oedd Mair eto yn gwybod fod yr Iesu wedi dyfod, hyd oni ddaeth Martha a hysbysu yn dirgel iddi. Yna y mae hithau yn prysuro yn ddioed i'r fan lle yr oedd efe. Nid oedd neb wedi dylyn Martha pan aeth hi allan, ond mae yn amlwg fod cyffro a brys yn symudiadau Mair fel ag i dynu eu sylw yn y man. "Y mae hi yn myned at y bedd i wylo yno," meddynt, ac y maent oll am y cyntaf yn dylyn ar ei hol. Fel hyn trefnodd Duw fod lluaws o dystion gerllaw pan oedd yr "Adgyfodiad a'r bywyd" yn myned i alw Lazarus o'r bedd.

Dywed yr hanesydd sanctaidd, "Yr Iesu a wylodd." Yr oedd Mair yn wylo wrth ei draed, Martha yn wylo wrth ei ochr, a llu o Iuddewon yn wylo o'i amgylch. Mae y tawelwch oedd yn cartrefu yn naturiol yn mynwes y Gwaredwr yn cael aflonyddu arno gan ruddfan

a chynwrf yn ei ysbryd. Bron na feddyliem ei fod yn methu rhoddi gair o gysur i Mair, fel y gwnaethai i Martha ychydig fynydau cyn hyny. Cymaint allai ddweyd ydoedd, "Pa le y dodasoch ef?" Methai ag ymatal yn hwy; ymollyngai i wylo ei hunan. Ond meddai rhai o'r edrychwyr yn ddigon hamddenol, "Oni allasai hwn, yr hwn a agorodd lygaid y dall, beri na buasai hwn farw ychwaith?" Gall ef wylo ei hunan yn awr, ond oni buasai yn well iddo arbed yr holl alar a'r tristwch yma i'r chwiorydd truain? Eithr yr oedd hynodrwydd yn "wylo" yr Iesu. Er ei fod yn gwybod beth ydoedd i gymeryd lle y fynyd nesaf, y byddai i'r balm oedd yn ei feddiant, esmwythâu a gwella yr archoll a agorwyd yn mynwes y chwiorydd, eto wele ei galon dyner yn cael ei chyffwrdd gan ofid ereill fel nad allai edrych arnynt yn wylo heb wylo gyda hwy. Nid ffug oedd ei ddagrau ef er eu bod dros ofid a allasai ef ei hun ei atal. Goddefai i Lazarus farw, goddefai i alar a thristwch yn un dymestl gref dori dros y teulu, nid am ei fod yn eu caru yn llai, ond am y gwyddai yn dda y byddai i hyny gyraedd amcan uwch iddo ef ei hun, i'r chwiorydd, i ninau ac i bawb a ddarlleno yr hanes, na phe buasai yn dyfod i Bethania yn ol dymuniad Martha a Mair, ac yn cadw angau draw.

Ychydig a wyddai y chwiorydd galarus y fath le mawr ydoedd hanes afiechyd a marwolaeth eu brawd i'w gael yn hanes gwaith y prynedigaeth. Mae stori adgyfodiad eu brawd a'r oll a gymerodd le o amgylch ei fedd, yn un o'r perlau tlysaf, gwerthfawrocaf, a gariodd eu cof gyda hwy o fyd o amser i'w cartref hyfryd yn y byd tragywyddol. Un o'r pethau sydd

yn gwneyd yr hanes yn anmhrisiadwy i ni ydyw yr arddangosiad a gawn ynddo o'r ddwy natur, y ddynol a'r ddwyfol, yn mherson ein Gwaredwr. O'r holl drafodaeth a fu rhyngddo a dynion, yma y dangosodd yn fwyaf clir berffeithrwydd llawn ei ddynoliaeth. Dangosodd drwy ei dristwch a'i ddagrau ei fod yn un o honom ni, ac fel brawd hynaf tyner galon yn cydddyoddef a'i frodyr gweiniaid. Ac yn sicr nid ymddangosodd erioed yn fwy dwyfol na phan yn llefain a llef uchel wrth y bedd, "Lazarus, tyred allan." Ac am ei fod yn meddu dyfnderoedd teimladau mwyaf cysegredig y natur ddynol, a chyflawnder gallu a gras y natur ddwyfol, y mae yn cyfateb, ac yn cwbl foddloni holl ddymuniadau dyfnaf ein calonau. Mor ddymunol i ni ydyw cydymdeimlad; yr ydym yn teimlo ei werth, yn teimlo ei eisiau, yr ydym yn hiraethu am dano yn ein gofidiau a'n profedigaethau. Yn yr Iesu y cyfarfyddwn â'r ffynon fawr hono, nid yn unig trugaredd a thosturi y Duw anfeidrol, ond tosturi a chydymdeimlad dyn, ein brawd a'n cyfaill goreu yn ymestyn tuag atom. "Wele," meddai rhyw un, gyda llawer mwy o deimlad na'r lleill oedd yn siarad, "fel yr oedd yn ei garu ef." Ie, a'r anrhydedd mwyaf a allasai y teulu dynol, nac un teulu arall o greaduriaid Duw ei dderbyn byth ydyw, fod yr Iesu yn eu caru. Pâr hyn i'r holl dywysogaethau ac awdurdodau, angylion a seraphiaid, y teuluoedd boneddigaidd sydd ar wasgar trwy yr holl gread eang dalu sylw a pharch priodol i ddyn, er ei fod wedi tynu arno ei hun hynodrwydd annymunol a gwarth trwy ei bechod; oblegid yn y teulu hwn y mae gwraig yr Oen wedi ei geni a'i magu, ac ni feiddia ac ni fyn y pen-

defig penaf sydd yn sefyll megys ar flaen creadigaeth Duw edrych yn isel ar ddyn. Byddai hyny yn anfri ac yn anmharch ar ddyweddi y Mab. Dyma gangen fechan o'r teulu wedi derbyn mwy o sylw Mab Duw nag a dderbyniodd tywysog nac angel erioed. Wele ef, fel y gwelsom, yn wylo yn hidl ac yn gruddfan o gydymdeimlad â'r teulu bychan hwn yn eu trallod. Synai yr edrychwyr at y fath arddangosiad o gariad. Yr oedd meddyliau cryfach yn ngraddfa creadigaeth na hwy yn synu hefyd, yn synu a rhyfeddu wrth weled eu tywysog yn wylo; a hawdd genym gredu eu bod hwythau yn defnyddio y cyffelyb ymadrodd, "Wele, fel yr oedd yn ei garu ef."

Ond awn yn mlaen gyda'r hanes. Ar waith yr Iesu yn gofyn pa le y dodasant ef, dechreuodd symud yn mlaen tuag at y bedd, yr hwn oedd ogof, fel y mae yn eglur, naill a'i naturiol neu ynte wedi ei naddu â llaw o'r graig. Rhydd hyn awgrymiad nad oedd y teulu hwn yn dlawd, gan na feddai y tlodion y fath le i roddi cyrff eu cyfeillion ymadawedig i orphwys. Awgrymir yr un peth yn hanes y pwys enaint a ddaw i'r golwg yn mlaen. Wedi dod at y bedd, gorchymynodd yr Iesu dreiglo ymaith y maen oedd yn ddôr iddo, a'r hwn oedd o gryn faintioli a phwysau, fel ag i sicrhau yr anedd dawel rhag creaduriaid ysglyfaethus. Dangosai Martha anfoddlonrwydd i agor y bedd, trwy ddywedyd ei fod wedi marw er ys pedwar diwrnod, a'i fod weithian yn drewi. Teimlai hi arswyd rhag edrych ar wynebpryd ag yr oedd llygredigaeth, fel y tybiai hi, wedi dechreu ei waith arno. Dengys geiriau Martha fod ei ffydd yn rhedeg yn isel; cymaint a allai hi ganfod yn y gorchymyn i symud y maen ydoedd

dymuniad yr Iesu i edrych unwaith yn rhagor ar wyneb a hoffai gymaint. Mynai hithau ei atal am y tybiai y byddai yr olwg yn un mor annymunol. Ar hyn y mae yr Iesu yn dyner iawn yn ceryddu ei hanghrediniaeth, trwy goffa iddi, "Oni ddywedais i ti pe credit y ceit ti weled gogoniant Duw?" Ar y gair hwn, adfywiodd ei ffydd, a boddlonodd i symud ymaith y maen, yr hyn a wnaed yn ebrwydd gan y rhai oedd yn sefyll gerllaw, ar ol cael caniatad gan yr hon fel y berthynas agosaf oedd a hawl i hyny. Yna yr Iesu a gododd ei olwg i fyny, ac a ddywedodd, "Y Tad, yr wyf yn diolch i ti am i ti wrando arnaf. Ac myfi a wyddwn dy fod di yn fy ngwrando bob amser: eithr er mwyn y bobl sydd yn sefyll o amgylch y dywedais, fel y credont mai tydi a'm hanfonaist." Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a lefodd a llef uchel, "Lazarus, tyred allan." Dangosai trwy hyn ei fod yn hawlio ei allu oddi uchod, ac nid oddi isod, nid trwy ddewiniaeth, ond trwy nerth dwyfol. "A'r hwn a fuasai farw a ddaeth allan, yn rhwym draed a dwylaw mewn amdo." Arferai y dwyreinwyr rwymo pob aelod o'r corff marw ar ei ben ei hun, hyd yn nod y bysedd. Tebygol mai fel hyn yr oedd Lazarus wedi ei amdoi. Ar hyn mae yr ysgrifenydd sanctaidd yn ymatal heb son gair am lawenydd chwiorydd a chyfeillion Lazarus.

Ond yr oedd yn mhlith y dorf oedd yn edrych ar y marw yn dod allan, rai nad oeddynt yn credu. Mae yn anhawdd i ni amgyffred pa esgusawd a allent ffurfio iddynt eu hunain dros beidio credu. Rhyfeddol hefyd ydyw grym anghrediniaeth, "ni chredent chwaith pe cyfodai un oddiwrth y meirw." Prysur-

odd rhai o honynt at elynion proffesedig yr Arglwydd Iesu i ddyweyd yr hanes er eu cynyrfu yn ei erbyn, a'u rhybuddio o'r angenrheidrwydd i wneyd rhywbeth gyda brys er gwrthweithio dylanwad y wyrth ryfeddol, y fwyaf hynod mewn llawer ystyr o'i holl wyrthiau ar y bobloedd. Nid oes gair o son yn eu mysg ai nid oedd yn bosibl fod y "dyn hwn" fel y galwent ef, wedi cyflawni y weithred nerthol trwy allu Duw, a bod yn bosibl mai efe oedd y Messiah. Ymddengys nad ydyw hyn yn ymgynyg i'w meddyliau o gwbl, ond yn hytrach beth fyddai yr effaith, os cydnabyddid ef felly gan y bobl, ar eu hanrhydedd a'u dylanwad hwy. Y mae rhyw beth hynod hefyd yn y sylwadau a wnaent, "Os gadawn hwn fel hyn," meddynt, "pawb a gredant ynddo, a daw y Rhufeiniaid ac a ddyfethant ein dinas ni." Tybient y byddai ei gydnabod a'i dderbyn fel y Messiah yn sicr o gynyrfu y werin i'w wneuthur yn frenin, a chyfodi amheuaeth yn meddyliau y Rhufeinwyr, ac yr edrychent ar y peth fel gwrthryfel yn erbyn eu hawdurdod hwy, a'r canlyniad fyddai iddynt ddyfetha Jerusalem, y ddinas freninol. A oeddynt yn wirioneddol o'r dyb hon neu ynte cymeryd hyn yn esgus i ddystewi yr ychydig oedd yn y Sanhedrim yn bleidiol iddo, nid yw yn gwbl eglur. Y mae yn sicr fod llawer o ddadleu, ol a blaen, yn y cyngor mawr, beth i'w wneyd a'r Iesu, a rhyw haner mesurau yn cael eu cynyg i'w lethu, megys gwahardd y bobl i'w wrando, ac ysgymuno pawb a'i cyffesent yn Grist. Eithr profai y rhai hyn yn gwbl aneffeithiol. Y pryd hwn traethodd yr archoffeiriad Caiaphas y geiriau hynod hyny, "Nid ydych chwi yn gwybod dim oll, nac yn ystyried mai buddiol yw i un

dyn farw dros y bobl, fel na ddyfether yr holl genedl." Dywed Ioan fod y geiriau hyn yn broffwydoliaeth, er na wyddai Caiaphas ei hun hyny. Y mae genym esiampl arall o un o blant Belial yn traethu gwirionedd proffwydoliaethol yn Balaam. Nid oes genym un awdurdod ysgrythyrol yn profi fod y ddawn broffwydol yn gysylltiedig a'r archoffeiriadaeth, a phe buasai y fath gysylltiad yn bodoli, buasai yn debyg o ddod i'r golwg yn rhywle. Yr oedd y cyngor wedi penderfynu lladd y Messiah. Yr archoffeiriad oedd y swyddog uchaf ei awdurdod yn mysg prif gyngor y genedl, ac y mae Duw yn goruwch-reoli fod ymadrodd y dyn oedd fwyaf o dan y cyfrifoldeb i fod yn dystiolaeth eglur yn erbyn y genedl o lofruddiaeth fwriadol. Wedi dyfod o'r cyngor mawr yn hollol i'r penderfyniad hwn, cynalient gyfarfodydd mynych i drefnu pa ffordd i ddod a hyn oddiamgylch, ond gan nad oedd yr awr apwyntiedig wedi dyfod, ciliodd yr Iesu o'u ffordd i aros i hono ddod i fyny.

## PENNOD XIX.

*Y pum' mis diweddaf o'i weinidogaeth—Ei ddamegion, &c.*

Y mae hanes symudiadau yr Arglwydd Iesu am y pum' mis diweddaf o'i weinidogaeth gyhoeddus, yn dra anhawdd i'w olrain yn yr efengylau. Cawn gan Ioan, fel y soniwyd, ei fod yn Jerusalem yn ngwyl y pebyll, yn yr hydref o flaen y pasc y croeshoeliwyd ef, eithr ni rydd Matthew a Marc ond ychydig o'i hanes ar ol i'w weinidogaeth yn Galilea derfynu. Gellid meddwl wrthynt hwy ddarfod iddo fyned bron yn ebrwydd i fyny i Jerusalem i ddyoddef, ar ol darfod ei waith yn Galilea. Ond y mae Ioan yn ein galluogi, i radd fechan mae'n wir, i wneyd y bwlch i fyny. Sonia ef am chwech o'i symudiadau yn y tymor hwn, sef yr yspaid rhwng ei ymadawiad â Galilea, a'i ddyfodiad i Jerusalem erbyn y pasc. 1. Ei ymddangosiad yn Jerusalem yn ngwyl y pebyll. 2. Yn ngwyl y cysegriad. 3. Ei ymneillduad yn ebrwydd ar ol yr wyl i Perea, sef y wlad tu hwnt i'r Iorddonen. 4. Ei ddyfodiad yn ol i Bethania pan yr adgyfododd Lazarus o'r bedd. 5. Ei ymneillduad drachefn i'r anialwch i dref a elwid Ephraim. 6. Ei ddyfodiad trwy Jericho i Bethania a Jerusalem, chwe' diwrnod cyn y pasc. Ond nid yw hyn oll yn llanw ond rhan lled fach o'r pum' mis a nodwyd. Ychydig ddyddiau yr arosodd yn Jerusalem yn y naill a'r llall o'r gwyliau hyn, a gorfu iddo adael Bethania yn ebrwydd ar ol cyfodi Lazarus. Felly nid ydyw hyn yn cymeryd

i fyny dros fis o amser. Pa le a pha fodd y treuliodd y gweddill? Luc yn unig, feddyliem, sydd yn rhoddi goleuni ar y mater pwysig hwn.

Y mae rhan helaeth o efengyl Luc, sef o ddiwedd y nawfed hyd ganol y ddeunawfed bennod, yn cael eu cymeryd i fyny gyda'r adran hon o amser, ac y mae y pennodau hyn yn sefyll ar eu penau eu hunain heb ond ychydig iawn yn y tair efengyl arall yn cydredeg â hwynt. Dechreuant gyda y geiriau, "A bu pan gyflawnwyd y dyddiau y cymerid ef i fyny, yntau a roddes ei fryd ar fyned i fyny i Jerusalem. Ac efe a anfonodd genadau o flaen ei wyneb; a hwy wedi myned a aethant i mewn i dref y Samariaid i barotoi iddo ef. Ac nis derbyniasant hwy ef, oblegid fod ei wyneb ef yn tueddu tua Jerusalem," Luc 9: 51—53. A dywed Matthew, 19:1, "A bu pan orphenodd yr Iesu yr ymadroddion hyn, efe a ymadawodd o Galilea ac a ddaeth i derfynau Judea, tu hwnt i'r Iorddonen. A thorfeydd lawer a'u canlynasant ef, ac efe a'u hiachaodd hwynt yno." Dywed Marc 10: 1, "Ac efe a gyfododd oddi yno, ac a aeth i dueddau Judea, trwy y tu hwnt i'r Iorddonen; a'r bobloedd a gydgyrchasant ato ef drachefn; ac fel yr oedd yn arferu, efe a'u dysgodd hwynt drachefn." Yn y pennodau sydd yn dylyn hyn gan Matthew a Marc, cawn yr hanes dyddorol am ddygiad plant bychain ato, ond yn efengyl Luc nid yw yr hanes hwn yn dod i mewn, hyd yn agos i ddiwedd yr adran a nodwyd, sef canol y ddeunawfed bennod; ac oddi yno yn mlaen y mae y pedwar efengylwyr yn cydredeg gyda'r hanes. Felly yr ydym yn canfod fod o leiaf y drydedd ran o efengyl Luc yn rhoddi hanes teithiau a llafur yr Iesu yn Perea, ac

heb ond ychydig yn yr efengylau eraill yn gyfochrog ag ef o gwbl. Ymddengys yn hynod nad yw Luc, yn yr wyth penod hyn, yn cyfeirio ond anfynych at le nac amser penodol; ac oddieithr craffu yn fanwl byddai yn naturiol i'r darllenydd feddwl mai hanes am y daith faith o Galilea, wedi darfod ei weinidogaeth yno, ydyw y cwbl. Ond wrth gydmaru Luc a Ioan, gwelir fod yr adran hon gan Luc yn cynwys hanes gweithredoedd nerthol a phregethau yr Iesu, yn ei holl deithiau yn ol a blaen trwy y wlad o'i ymadawiad diweddaf a Galilea, hyd nes yr oedd yn nesâu at Jericho ar ei ffordd i fyny i wyl y pasc. Ac oni buasai am y pennodau hyn yn Luc, ni buasai genym ond ychydig o hanes yr Iesu am y pum' mis diweddaf o'i oes, ond yn unig yr hanes yn Jerusalem a'r cylchoedd gan yr efengylydd Ioan.

Mae yn eglur, dybygem, mai y wlad tu hwnt i'r Iorddonen oedd prif faes llafur ein Gwaredwr dros y rhan fwyaf o lawer o'r yspaid hwn o amser. Wedi ymadael o Galilea, a phan oedd ar ei ffordd cafodd ei droi o'i lwybr gan y Samariaid, pan y gomeddasant weinyddu ar ei angen ef a'i ddysgyblion. Trodd ef y pryd hwn ar ei law aswy ar hyd y ffin rhwng Samaria a Galilea, gân groesi yr Iorddonen yn Bethsean, efallai, i barthau isaf Decapolis; a gellir barnu oddiwrth yr hanes yn Luc, iddo dreiddio i mewn i'r wlad, can belled hwyrach a Jabes Gilead. Nid ydyw yn debygol iddo fod can belled yn y cyfeiriad hwn erioed o'r blaen, o leiaf mewn modd mor gyhoeddus a hyn. Yr oedd son am ei bregethau a'i wyrthiau wedi cyraedd i'r parth anghysbell hwn o'i flaen, ac anfonodd yntau hefyd genadau o'i flaen, ac mae yn debygol

mai yma yr oedd cryn lawer o lafur y deg a thriugain yn cael ei dreulio. Yr oedd llawer o debygolrwydd yn ei ddyfodiad i Gilead i'r hyn ydoedd dechreuad ei weinidogaeth yn Galilea, fel y gwelwn oddiwrth y manau y cyfeiriwyd atynt. Yr oedd y trefi a'r holl wlad wedi eu cynyrfu trwyddynt yn gyffelyb fel yr oedd yn Galilea pan y dechreuodd ei weinidogaeth yno. Yr oedd y Galileaid a phreswylwyr y tu hwnt i'r Iorddonen yn bur gyffelyb o ran ansawdd a sefyllfa, yn mhell o gyraedd dylanwad y blaenoriaid Iuddewig, ac yn fwy rhydd ac agored i dderbyn y gwirionedd na gwyr y brif ddinas. Peth naturiol gan hyny ydoedd fod ei bregethau a'i wyrthiau yn effeithio yn gyffelyb ar y naill a'r llall; a'i fod yntau hefyd yn arfer cyffelyb ymadroddion ac yn gwneyd gwyrthiau o'r un natur yn y naill wlad a'r llall. Mae yn amlwg hefyd fod yr un cyhuddiadau yn cael eu dwyn yn erbyn yr Arglwydd Iesu, a'r un amddiffyniad yn cael ei wneyd ganddo ef. Gelwid arno yma eto am arwydd o'r nef gan ddynion o gyffelyb argraff a'r rhai hyny yn Galilea, a chawsant y cyffelyb atebiad, nad oedd ganddo ef arwydd i'w roddi i'w bath hwy ond arwydd y proffwyd Jonas.

Ond er fod fel hyn lawer iawn o debygolrwydd mewn lluaws o amgylchiadau, a llawer o'r gwirioneddau mawrion yn cael eu traddodi bron air yn ngair ganddo ef yma ac yn Galilea, mae o'r ochr arall lawer iawn o wahaniaeth rhwng geiriau a gweithredoedd yr Iesu yn yr adeg hon ag eiddo rhan foreuaf ei weinidogaeth yn Galilea. Yno nid ynganai air am ei farwolaeth a'i ymadawiad o'r byd hwn, a'i ail ddyfodiad i'w farnu yn y dydd olaf, nac ychwaith am ddin-

ystr y genedl, eu dinas a'u teml. Ni wasgai gymaint ar ei ddysgyblion am yr angenrheidrwydd am wylio a gweddio. Hyd ar ol y gweddnewidiad ni chrybwyllai hyn iddynt ond yn gynil a dirgelaidd. Eithr daethai yr adeg, pan yn teithio trwy ddinasoedd Perea, pryd yr oedd yr angenrheidrwydd am gelu y pethau pwysig hyn yn darfod. Yr oedd yn awr a'i wyneb tua Jerusalem a Chalfaria ac nid ydoedd ond gweithio i aros i'w amser ddod i fyny. Nid ydoedd pa beth a weithredai nac a ddywedai yn oedi nac yn prysuro yr awr. Gallai yn awr, mewn rhan o leiaf, symud y gorchudd oddiar y dyfodol arswydlawn oedd yn ei aros yn Jerusalem, er rhybudd i'w ddysgyblion a'i wrandawyr.

Yr oedd y gwirionedd hwn yn pwyso mor drwm ar ei ysbryd fel nad allai mewn ystyr ei gadw i mewn, ac y mae yn amlwg yn dylanwadu ar ei ysbryd ef ei hun nes tori allan yn hynodrwydd mawreddig yn ei holl eiriau. Mae byrder, grym a halltrwydd, yn llawer o'i atebion, ag sydd yn rhoddi arbenigrwydd ar yr adeg hon. Dengys ei ateb i genad Herod, ag oedd am ei yru allan o'r wlad, ansawdd ei feddwl ar y pryd. Nid chwerwder ysbryd, ond dwysder meddwl. Pa un bynag ai at ei elynion ai at ei gyfeillion y cyfeiriai ei ymadroddion, yr un dôn oedd iddynt. Mae yr addysgiadau a roddai i'w ganlynwyr yn fyr a phwysig, a phan y byddai rhai o'r bobl yn holi cwestiynau hyfion a dibwys iddo, byddai yn eu hateb nid trwy gyfarfod a'u gofyniadau, ond trwy gyfarfod ag ansawdd ysbryd yr ymholydd. Mynych y byddai ei ymadroddion yn taro ac yn tori i'r byw. Mewn ateb i'r dyn a alwai arno i rann yr ystâd rhyngddo ef a'i frawd, "Y dyn, pwy a'm gosododd i yn llywodraeth-

wr neu yn farnwr arnoch chwi?" meddai. Canfyddai yr Iesu mai ariangarwch oedd yn cynyrfu meddwl y dyn i wthio ei fater arianol yn mlaen ar draws pethau pwysig bywyd tragywyddol ei wrandawyr, a thraddododd i'r torfeydd ddameg y gwr goludog a'i gnydau mawrion a'i ysguboriau yn rhy fach i'w dal, er dangos y perygl arswydlawn o fod dan ddylanwad ysbryd cybydd-dod. Daeth rhyw un arall yn mlaen gan adrodd yn ddefosiynol iawn am y Galileaid a laddasai Pilat pan yn nghyntedd y deml gyda eu haberthau; rhyw walch cyfiawn yn ei olwg ei hun, dybygem, oedd hwn. Yr ateb a gafodd ydoedd os na byddai iddo ef a'i fath edifarhau y dyfethid yntau yn yr un modd. Gofynai rhyw un ymholgar arall, "Ai ychydig yw y rhai cadwedig?" "Ymdrechwch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng," oedd yr atebiad parod iddo. Yn gydweddol â hyn yr oedd ei ddull yn cyflawni ei weithredoedd nerthol. Pan y daeth dyn a dyfrglwyf i'w wydd, tra yr oedd yn eistedd wrth fwrdd y Pharisead, gofynai i'r cwmni Phariseaidd, "Ai rhydd iachâu ar y Sabboth?" yna estynai iechyd i'r dyn truan yn y man, gan ei anfon ymaith. Pan y galwai deg o wahangleifion arno am drugaredd, dywedai, "Ewch a dangoswch eich hunain i'r offeiriad;" yr ydych eisoes yn iach. Mae rhywbeth yn hyn oll fel pe na byddai ganddo amser na gair i'w hebgor. Yr oedd ei feddwl, mae yn eglur, yn ymsefydlu yn barhaus ar y dyfodol oedd yn ei aros ef ei hun a'i ddysgyblion. Yr oedd ei orchwyl mawr fel dysgawdwr y bobl ac iachawr y cleifion, bron wedi ei orphen. Cyflawnai hyn, mae yn wir, yn barhaus, eto yn debyg i ddyn yn myned heibio ar ei daith a neges orbwysig ganddo yn mlaen. Yr

oedd ei ddyoddefiadau a'i angau yn ymgodi o flaen ei wyneb yn barhaus. "Wele," meddai Luc, (18:31–33,) "yr ydym yn myned i fyny i Jerusalem, a chyflawnir pob peth sydd yn ysgrifenedig yn y proffwydi am Fab y dyn, canys efe a draddodir i'r cenedloedd ac a watwerir, ac a anmherchir, ac a boerir arno. Ac wedi iddynt ei fflangellu y lladdant ef, a'r trydydd dydd efe a adgyfyd."

Yn yr adeg hon y traddododd yr Iesu lawer o'i ddamegion difrifol a phwysig, megys y Samariad trugarog, y gwr goludog a'i ysguboriau, y ffigysbren diffrwyth, y ddafad golledig, y darnau arian, y mab afradlon, y goruchwyliwr anghyfiawn, a'r goludog a Lazarus, &c. Achlysurwyd y gyntaf trwy i ryw Pharisead ofyn iddo, "A phwy yw fy nghymydog?" Gwir fod y ddameg brydferth hon, fel y mae yn anogaeth i gariad, tosturi a thrugaredd at bob dyn, yn eithaf priodol ar unrhyw dymor o'i weinidogaeth; eto mae fod Samariad yn cael ei wneyd yn arwr, yn brif ddyn yr ystori, yn rhoddi grym neillduol iddi pan ystyriom y driniaeth yr oedd efe ei hun a'i ddysgyblion newydd ei gael oddiar law y Samariaid. Cyfododd yr ail ddameg yn naturiol oddiar apeliad y dyn ariangarol am i'r Iesu beri i'w frawd ranu yr etifeddiaeth ag ef. Lled debyg mai dau o weilch cybyddlyd yn ymdynu â'u gilydd am eiddo ar ol eu tad, neu ryw berthynas arall, oeddynt. Mae yn bosibl, fel y dygwydd yn fynych gyda phethau o'r fath, fod llythyren y gyfraith o ochr un, a chyfiawnder o ochr y llall, felly yn arwain yn naturiol i ymrafael. Ond ni fynai yr Arglwydd Iesu wneyd sylw o faterion cyfreithiol a gwladol. Yr oedd bod yn farnwr ar bethau o'r fath,

yn anfeidrol islaw ei swydd ef fel y Messiah. Os na wnai ei gyngorion a'i addysgiadau gwerthfawr ef ddwyn eu calonau i'w lle i wneyd tegwch â'u gilydd, nid oedd ganddo ef ond eu gadael fel yr oeddynt; eithr cymerai fantais oddiwrth yr amgylchiad i'w rhybuddio hwy a'i wrandawyr yn gyffredinol, yn y modd mwyaf difrifol o natur ddinystriol ariangarwch. Diau mai at hyn y cyfeiriai dameg y gwr goludog, tir yr hwn a gnydiasai yn dda, a'r hwn wedi diogelu ffrwythau ei feusydd a ddywedai gyda rhyw foddlonrwydd neillduol wrth ei enaid am orphwys, bwyta, a bod yn llawen. Dichon nad ydyw y ddameg hon, mwy na dameg y Samariad trugarog; yn perthyn yn neillduol i'r yspaid hwn o amser, ond am y ddwy ddylynol, sef dameg y ffigysbren a'r swper mawr, perthyna y rhai hyn o ran eu mater i'r tymor hwn yn arbenig.

Pan ddaeth un i fynegu iddo am y Galileaid a laddesid gan Pilat, dywedai nad oedd y rhai hyny na'r deunaw y syrthiodd y twr arnynt, yn waeth na dynion eraill, ac os nad edifarhaent hwythau oll, rhybuddiai hwy fod yr amser yn cyflym nesu pan dynid y cleddyf o'i wain, y dymchwelid y tyrau a'r muriau, ac y byddai pobl Jerusalem yn cael eu lladd wrth y miloedd. A chan fod hyn i ddygwydd ar adeg y pasc, byddai gwaed yr aberthwr a gwaed ei aberth yn cael eu cymysgu yn arswydlawn â'u gilydd. Dichon i luaws o wrandawyr yr Iesu oeddynt yn ddynion ieuainc y pryd hwnw, gael teimlo hyn yn brofiadol eu hunain. Er eu rhybuddio yn mhellach o'u perygl, traddododd ddameg y ffigysbren diffrwyth. Diameu mai alegori broffwydol ydyw yn darlunio sefyllfa bresenol a dyfodol y genedl. Yr oedd cymaint wedi ei wneyd i'r

genedl yn y tair blynedd blaenorol, fel y mae yn ddarlun byw o'i sefyllfa ar y pryd. Yma mae yr ystori yn ymatal yn gymwys yn yr adeg yr oedd efe yn llefaru. Cofier fod mater y ddameg yn llawn mor briodol yn mhob oes a gwlad ag ydoedd i'r Iuddew; ond diau fod grym, priodoldeb, a phrydferthwch yr ymadrodd yn cael eu colli i raddau, heb i ni ystyried amcan uniongyrchol y llefarydd ar y pryd. Teimla y meddwl ryw awydd edrych dros y fagwyr i'r winllan i yspïo ac ymholi beth ddaeth o'r pren hwnw, a ddygodd efe ffrwyth ac a achubwyd ef rhag min y fwyell. Naddo, ddarllenydd, eithr torwyd ef i lawr er yr oll a allai y gwinllanydd tyner wneyd drosto.

Yn mhellach yn mlaen, gan Luc, y mae dameg y swper mawr, a wnaethid gan wr tywysogaidd, i'r hwn y gwahoddwyd llawer, a phan oedd pob peth yn barod, anfonwyd gwas i alw y gwahoddedigion, ond ymesgusodasant oll, gan roddi pob un ei reswm dros hyny. Yna y digiodd gwr y ty, ac anfonodd ei weision i heolydd ac ystrydoedd y ddinas, ac i'r prif ffyrdd a'r caeau, gan gymell pawb a welent i'r wledd, fel y llanwid y ty. Yn y fan hon, ymatalia yr ystori yn sydyn gyda dweyd, "Canys meddaf i chwi, ni chaiff yr un o'r gwyr hyny brofi o'm swper i." Am y gwahoddedigion cyntaf, amlwg yw, mai yr Iuddewon a olygid, ac yn benaf, y Phariseaid a'r Ysgrifenyddion, penaethiaid y genedl. Yr oedd lluaws o honynt yn eistedd wrth y bwrdd y fynyd hono; yr oedd y gwahoddiad yn eu dwylaw er ys dyddiau lawer, a hwythau yn proffesu eu bod yn ei dderbyn, ond pan ddaeth yr amser, ac i'r Iesu eu gwahodd i'r wledd, maent i gyd yn ymesgusodi. Y canlyniad fu ddarfod i wehilion y

dref a'r wlad, y publicanod a'r puteiniaid, ddod i mewn, ac iddynt hwythau gael eu cau allan. Dengys gwedd yr ystori ei bod yn taro yn gymwys i'r amgylchiad y dywed Luc iddi gael ei thraddodi.

Yn nesaf cawn olwg ar yr Iesu yn nghanol torf o bublicanod a phechaduriaid, ac megys wrth ei fodd yn eu croesawu a'u dysgu; ac ymddengys ei fod yn myned gyda hwy i'w tai i fwyta ac yfed, pa le bynag y cai wahoddiad. Yn ebrwydd codwyd cri yn ei erbyn am hyny. Nid ydyw dynion yn myned i dai i fwyta ac yfed, yn gwahodd nac yn cael eu gwahodd, heb eu bod ar delerau da a'u gilydd; ac nid ydyw cân nac enllib y gwyr mawr hyn yn peri i'r Iesu da gywilyddio dim o'i gwmniaeth, eithr hysbysa iddynt yn dawel ei fod ef yn myned i fysg y fath, i'w gwahodd at Dduw. Yna cododd y llen am foment oddiar y byd ysbrydol, er dangos i'r dynion hyn beth a feddylid yn y nef am y pechaduriaid yr oeddynt hwy yn eu diystyru—y byddai llawenydd yn ngwydd angylion Duw am gymaint ag un pechadur a edifarhâi. Gwnaeth hyn trwy y tair dameg a geir yn y bymthegfed bennod o Luc, sef dameg y ddafad golledig, y darn arian a'r mab afradlon. Yn y rhai hyn, cawn atebiad ac amddiffyniad yr Iesu yn wyneb y dirmyg a deflid arno gan y Phariseaid. Mor eglur y mae y ddafad a'r darn arian colledig a'r mab ieuengaf yn arddangos dychweliad publicanod a phechaduriaid at Dduw, tra mae y cant ond un, y naw, a'r mab hynaf, yn personoli y Phariseaid grwgnachlyd hyn. Mae gwahaniaeth o angenrheidrwydd yn y tair dameg. Nis gall y cant ond un, a'r naw, un yn ddireswm a'r llall yn ddifywyd, ddangos ansawdd tymerau ac ysbrydoedd y Pharise-

aid; eithr gwneir hyn yn glir ryfeddol yn y mab hynaf, yr hwn oedd yn arlun byw o'r dynion yr oedd yr Iesu yn amddiffyn ei hunan rhagddynt. Dygir ef i'r golwg, a gosodir ef yn ei lawn faintioli ar y chwareufwrdd, a gwneir llawn ddatguddiad o dufewnol ddyn ei galon, ei falais a'i genfigen.

Efallai mai rhy fach o sylw a wneir gan eglwys Dduw yn ein hoes ni o'r gwr hwn a'i dylwyth. Adroddir ystori y mab ieuengaf, yr hon a ymestyna dros amryw flynyddoedd o fywyd gwastraffus i'r eithaf, yn nghyd a'i wrthgiliad a'i adferiad, mewn tair ar ddeg o adnodau gan yr ysgrifenydd sanctaidd, tra y rhydd wyth adnod i'r mab hynaf, er nad oedd ei hanes yn cyraedd ond dros un prydnawn. Dengys hyn fod y sylw manylaf i gael ei wneyd o holl ranau y ddameg. Mae yn eithaf naturiol, ac yn ddigon priodol i ni gymeryd mwy o ddyddordeb yn ystori y mab ieuengaf na'r hynaf, yn gymaint felly fel nad ydym yn canfod dim ond un yn aml; dameg y mab afradlon y gelwir hi, ac wedi darllen ei hanes ef gyda blas, cauir y llyfr, a gadewir y llall heb son am dano. Ond fel y llefarwyd hi ar y cyntaf, yr oedd i hanes y mab hynaf le llawer mwy pwysig nag yr ydym ni yn dueddol i ganiatâu iddo. Yr oedd efe yn y maes gyda ei orchwyl, pan y daeth ei frawd ieuengaf adref, ac y derbyniwyd ef mor groesawus gan ei dad. Gyda yr hwyr, adeg noswylio, mae efe yn dychwelyd ac yn clywed yn y ty swn cynghanedd a dawnsio, ac wedi deall gan un o'r gweision, fod ei frawd wedi dod adref, a'i dad yn ei groesawu, mae holl ffynonau hunanoldeb, balchder, cenfigen a drygnaws ei galon, yn ffrydio allan eu dyfroedd chwerwon. Gwrthoda fyned i mewn, ac ni fyn-

ai edrych ar ei unig frawd. Yna daw ei dad allan gan ymbil ag ef, eithr ni fynai wrando arno. Tora dros ben pob rheol moesgarwch a thynerwch. Anghofia ei berthynasau naturiol; nid *fy* nhad, yw ei dad ganddo—ni fynai siarad â'i dad, er mai iddo ef yr oedd yn ddyledus am y cwbl. Taflai i wyneb ei dad, ei fod yn ddyn anghyfiawn ac angharedig. Ond er ei holl ystyfnigrwydd a'i ddrygnaws, mor hawddgar, mor dyner a thawel y mae ei dad yn ymresymu ag ef. A ddarfu i hyn ei dyneru? A ddaeth yntau hefyd i ganfod mor annheilwng oedd efe ei hun i gael ei alw yn fab? A daflodd efe ei hun mewn dagrau i freichiau ei dad? Yn gyffelyb i ddameg y ffigysbren a'r swper mawr, tynir y llen yn y fan hon fel nas gallwn ganfod beth a ddaeth o'r mab hynaf na'r dosbarth a gynrychiolid ganddo. Am yr ieuengaf, er iddo afradloni ei dda, efe a edifarhaodd, a chawn ef yn ddiogel a chysurus yn nhy ei dad.

Ein hamcan yn aros cyhyd gyda hyn oedd, ceisio tynu sylw y darllenydd mewn modd arbenig at y gyfran hon o efengyl Luc, fel hanes cyfnod pwysig o oes yr Arglwydd Iesu, nad ydym yn ei gael gan un o'r tri efengylwyr ereill. Yma am ychydig amser mae y llen rhwng y ddau fyd megys yn cael ei chodi, fel y gallwn ganfod fod pob peth yn ei le yn y byd ysbrydol; gwelir yr annuwiol dan y gosp, a'r duwiol yn mwynhau ei etifeddiaeth, angylion Duw yn lloni wrth weled pechaduriaid yn edifarhau, mynwes Abraham, lle y gorphwysai Lazarus, a'r uffern y suddodd y gwr goludog iddi. Pa le arall yn yr ysgrythyrau y cawn y fath ddatguddiad o'r byd tu draw i'r llen?

## PENNOD XX.

*Yn cilio i Ephraim--Bendithio plant bychain—Iachau gwraig o ysbryd gwendid—Bartimeus ddall—Zaccheus y publican—Yn cyraedd yn ol i Bethania—Barn yr Iuddewon am Grist—Ei eneinio gan Mair.*

Yr oeddym wedi dwyn yr hanes yn mlaen hyd adgyfodiad Lazarus, cyn troi o'n llwybr i roddi hanes gweinidogaeth yr Arglwydd Iesu yn Perea, y wlad tu hwnt i'r Iorddonen, fel y ceir ef gan Luc. Cawn eto, ar ein ffordd yn mlaen, sylwi ar amryw amgylchiadau perthynol i'r cyfnod hwnw. Darfu i'r wyrth fawr yn Bethania gynyrfu llid a chenfigen y penaethiaid Iuddewig yn erbyn yr Iesu i'r eithafion, ac wedi clywed proffwydoliaeth a chyngor Caiaphas, llwyr benderfynasant ei roddi i farwolaeth. Yna efe a giliodd gyda ei ddysgyblion o'u cyraedd am dymor, i ddinas a elwid Ephraim, yn agos i'r anialwch. Tybir gan rai mai Ephraim, neu Ephra, yn llwyth Benjamin ydoedd. Safai y ddinas hono ar fryn uchel tua deunaw milldir o Jerusalem, ac nid yn mhell o graig Rimon, lle y diangodd bechgyn drygionus Benjamin gynt. Yr oedd Bethel hefyd yn yr un gymydogaeth. Tybia rhai iddo fyned can belled a Capernaum unwaith yn rhagor, eithr nid yw hyny yn debygol, fel y gwelir oddiwrth y sylwadau blaenorol. Mae yn eglur modd bynag iddo fyned tu hwnt i'r Iorddonen, oblegid cawn ef yn araf deithio i lawr ar ei ffordd i wyl y pasg, gan bregethu yr efengyl o dref i dref ar hyd glan yr Iorddonen.

Yr adeg hon y dygwyddodd yr amgylchiad dyddorol o fendithio y plant bychain a ddygwyd ato. Babanod bychain yn ddiau oeddynt a ddygid ato gan eu mamau, fel y cyffyrddai â hwynt, ac eu bendithiai. Mae yn bosibl fod yma ryw gymaint o goelgrefydd, ryw syniad diffurf y byddai cyffyrddiad o eiddo yr Iesu o ryw les i'r rhai bychain. Os oedd, mae yn hawdd iawn cydymdeimlo â hwy a maddeu iddynt, o herwydd y parch calon a deimlent at yr Arglwydd Iesu. Gwelent ef yn myned trwy eu cymydogaeth am y waith olaf, fel y deallent, ac achubent yr unig gyfleusdra i ddod a'u rhai bychain ato. Syniad y mamau ieuainc serchog ydoedd, y byddai ganddynt ryw beth hynod ac o werth i'w ddweyd wrth eu plant pan ddelent i oedran deall, a rhyw beth hefyd y credent hwy y byddai eu plant yn well o'i herwydd. Ychydig iawn o gymorth dychymyg sydd yn eisiau, i weled y mamau prydferth, anwyl, hyn, a'u rhai bychain yn eu breichiau, yn gwneyd eu ffordd trwy y torfeydd a lanwent y lle, at yr Iesu, gan ddweyd wrth ei ddysgyblion beth oedd eu dymuniad. Darfu i'r dysgyblion heb ymgyngori a'u Meistr, eu ceryddu, a rhoddi gwrthyriad penderfynol iddynt. Ystyrient mai ffoledd ydoedd blino yr Athraw gyda phlant bychain. Canfyddai yr Iesu y cyfan, a bu anfoddlon i'r dysgyblion, y rhai a edrychent ar y rhai bychain fel pe na buasai iddynt ran yn y deyrnas. Yr oedd yr amgylchiad yn un manteisiol i'r Athraw mawr roddi gwers, a dangos iddynt eu hanwybodaeth a'u diffyg ffydd. "Gadewch," meddai, "i blant bychain ddyfod ataf fi, ac na waherddwch iddynt, canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd." Cymerwn y frawddeg olaf yn ei hystyr syml a llythyrenol, fod

teyrnas Dduw yn eiddo plant bychain, a'u bod yn gwneyd i fyny ran fawr o'r deyrnas. Mae yn ddigon gwir y rhaid i'r dyn mewn oedran ddyfod mewn rhyw ystyr fel y baban, cyn y gall fyned i mewn i deyrnas Dduw. Ond yr ydym yn methu derbyn y syniad mai hyn yn unig nac yn benaf, a feddyliai yr Iesu. Pe felly, ni buasai nemawr o ystyr yn y wers i'r dysgyblion, nac ychwaith yn ei weithred yntau yn cymeryd y plant bychain yn ei freichiau. Ystyriwn fod yr ymadrodd yn ei ystyr flaenaf yn golygu fod teyrnas nefoedd yn eiddo, nid i ddynion tebyg o ran diniweidrwydd i rai bychain, ond i'r cyfryw rai ag oedd o'i flaen, sef babanod bychain, y rhai y cyfrifai eu mamau eu hoedran wrth y misoedd a'r wythnosau. "Rhoddi ar ddeall i ni y mae," medd John Newton, "fod rhif y plant a brynodd efe i Dduw â'i waed yn gor-rifo y rhai mewn oedran fel y gellid dweyd fod teyrnas nefoedd yn cael ei gwneyd i fyny o blant bychain." Ond nid oes angen am wasgu y syniad can belled, feddyliem, ag mai hwy ydyw y mwyafrif o ddeiliaid y deyrnas, ond yn hytrach, sicrhau fod y deyrnas yn perthyn iddynt, sef i'r rhai sydd yn marw yn eu babandod, ac mai ynddi hi bydd eu cartref byth. Eto ni fynem, ac nid oes angen am i ni seilio ein cred am gadwedigaeth babanod ar un frawddeg fel hyn, pan y gadewir yr un argraff ar y meddwl gan bob rhan o air Duw sydd yn cyffwrdd â'r mater.

Pan yn dysgu y bobl yn synagog un o'r trefi ar y Sabboth, yr oedd yn mysg y gwrandawyr wraig ag ysbryd gwendid ynddi er ys deunaw mlynedd. Oddiwrth eiriau yr Iesu. canfyddwn fod gan Satan law yn afiechyd y wraig, er fod ei lywodraeth arni yn ysgafn-

ach nag ar y rhan luosocaf o'r trueniaid a ddeuent i'w afael. Ymddengys mai yn ei meddwl yr oedd ffynonell y drwg; rhyw bruddglwyf trwm, nes oedd ei holl natur yn gwywo, a'i chorff gwan yn ymddyblu dan y llwyth. Ni arosodd yr Iesu y tro hwn i gael ei geisio, er fod presenoldeb y wraig yn y synagog yn lled awgrymu fod ynddi ryw obaith am ymwared ganddo. Gallwn feddwl hyn hefyd oddiwrth eiriau penaeth y synagog, yn gorchymyn yn sarug i'r bobl ddyfod ar ddyddiau ereill, ac nid ar y Sabboth, i gael eu hiachâu. Gwr sanctaidd dros ben oedd hwn, ond ni luddiodd ei eiriau i'r Iesu alw y wraig druenus a rhoddi ei ddwylaw arni, gan lefaru iechyd i'w chorff a bywyd ysbrydol i'w henaid. Datododd ei rhwymau tymorol ac ysbrydol yn y man. "Ha wraig," meddai, "rhyddhawyd di oddiwrth dy wendid," ac wele hi mewn moment mor uniawn-syth a phrydferth a neb yn y gynulleidfa. Dechreuodd y wraig yn y fan folianu Duw, a dweyd yn dda am ei Gwaredwr. Methai yr arch-synagogydd oddef hyn. Nid eiddigedd dros sancteiddrwydd y lle a'r dydd a'i cynyrfai, eithr cenfigen noeth at yr Iesu. Yr oedd yn rhy ofnog ac anwraidd i ymosod arno yn uniongyrchol, ond amcanai ei gyrhaeddyd trwy y bobl. Cymerodd fantais ar gadair Moses, a'i swydd fel eglurwr y cyfreithiau, i gyfeirio ei saethau at y bobl, gan ddysgwyl iddynt daro ac archolli yr Iesu. Parodd hyn i'r Iesu ei gymeryd yntau mewn llaw, gan ei ddynoethi a'i geryddu yn llym, trwy ddangos i'r bobl mewn ymadroddion nad ellid eu camddeall, nad oedd efe wedi tori y Sabboth, na dim yn debyg i hyny. Yr oedd yn rhesymol ac yn gyfreithlawn, ïe, yn ddyledswydd arnynt

ollwng eu hanifeiliaid i'r dwfr, a chodi dwfr o'r pydewau dyfnion iddynt ar y dydd Sabboth; a pha faint mwy rhesymol a chyfreithlawn ydoedd rhyddhau y wraig druan hon a fuasai am ddeunaw mlynedd yn rhwym gan Satan? Yr oedd yn orchwyl mawr dyfrhau llawer o anifeiliaid, ond gwnaent hyny bob Sabboth, ac nid oeddynt ond anifeiliaid yn y diwedd. Eithr wele berchen enaid gwerthfawr yn rhwym dros flynyddau meithion, a dim ond cyffwrdd â hi, a dweyd gair wrthi, a wnaeth efe. Pa un o'r ddau oedd fwyaf rhesymol?

Cyrhaeddodd yr Iesu ar ei daith i Jericho, tua deunaw neu ugain milldir o Jerusalem, ac yn nghymydogaeth y ddinas rhoddodd eu golwg i ddau ddyn dall. Yn ol Matthew a Marc, myned allan o'r ddinas yr ydoedd, ond dywed Luc mai nesau yr ydoedd at y ddinas. Ni sonia Marc a Luc ond am un, a rhydd Marc ei enw, ac enw ei dad; ond gallwn fod yn sicr fod yma ddau, efallai dri. Yr oedd Jericho ar yr adeg hon yn ddinas fawr, yn cynwys yn agos i gan' mil o eneidiau, a'r nifer hwn wedi ei chwyddo yn fawr gan y lluaws o Galilea a Perea, oeddynt ar eu ffordd tua Jerusalem i wyl y pasg; ac mewn gwlad lle yr oedd cynifer o ddeillion mewn cyfartaledd i rifedi y preswylwyr, ni byddai i'w ryfeddu os oedd yno amryw, ac i dri o leiaf gael eu gwella, er mai Bartimeus yn unig a enwir.

Dymunem wneyd sylw cyffredinol yn y fan hon mewn perthynas i anhawsder ymddangosiadol yn yr hanes sanctaidd, sef fod yn eglur fod rhai o'r amgylchiadau yn yr hanes wedi eu gadael allan. Mynych y dygwydd fod tri thyst yn adrodd yr hyn a welsant, ac na bydd tystiolaeth pob un ar wahan yn rhoddi ond syn-

iad tra aneglur am yr achos; ond pe clywid yr holl fanylion, deuai y cwbl yn eithaf clir, a geirwiredd y tystion i'r goleu. Mewn achos fel hyn, pan nas gellir cael yr holl fanylion i'r golwg, onid y ffordd ddoethaf ydyw gadael yr anhawsder yn y man y mae, gan fod yn gwbl dawel mai ein diffyg ni o wybodaeth mwy cyflawn ydyw yr achos o hono? Yr ydym yn sicr fod un, sef Bartimeus, yn aros ar fin y ffordd, yr ochr nesaf i Jerusalem i'r ddinas, o dan gysgod hyfryd un o'r palmwydd, mae yn debyg. Clywai swn y dorf yn dod tuag ato, ac wedi i ryw un ei hysbysu pwy oedd yn dyfod, mae yn eglur i'w enaid gynhyrfu ynddo. Diau ei fod wedi clywed llawer am Iesu o Nazareth, ac wedi rhyfeddu llawer yn ei gylch, a'i fod wrth drafod y mater yn ei feddwl yn ei unigedd a'i dywyllwch, wedi dod i'r penderfyniad mai Mab Dafydd, y Messiah addawedig, ydoedd. Pan ddeallodd ei fod ar y ffordd yn ymyl, dychlamai ei galon o'i fewn, a thorodd ei obaith a'i ffydd allan yn un floedd fawr, "Iesu Mab Dafydd, trugarha wrthyf." Tybia rhai mai yr ymadrodd yma a barai i ryw rai eiddigus yn y dorf ei ddwrdio; ond dylem gofio fod y bobl, y torfeydd, yn gyffredin yn anrhydeddu yr Iesu, a dichon mai ceisio atal y llefain difoes yr oeddynt. Mae yn ddigon tebygol hefyd fod yr Arglwydd Iesu yn dysgu y dorf wrth gerdded yn mlaen, ac na fynent iddo gael ei atal gan y cardotyn. Ond ni fynai y dall ei ostegu fel hyn chwaith; yr oedd yr hyn a geisiai mor bwysig yn ei olwg, a dyma yr unig gyfleusdra iddo byth, fel yn lle dystewi, y llefai yn fwy-fwy egniol. Ar hyn safodd yr Iesu tirion, a galwodd arno i ddod yn mlaen, a gallwn ddychymygu gweled y dall yn taflu

ymaith ei amwisg rydd, ac yn prysuro i'r man y safai yr Iesu. Mae golwg bruddaidd ar ddyn dall bob amser, ac mae edrych ar yr Iesu yn yr hanes sanctaidd yn rhoddi eu golygon iddynt, y naill dro ar ol y llall, yn peri teimlad cynes iawn tuag ato. Mae yr hen syniad, mai i brofi ei Dduwdod a chadarnhau gwirionedd y grefydd Gristionogol yn unig, y cyflawnai ei weithredoedd nerthol, yn amddifadu yr hanes o'i felusder. Nid gallu, yn gymaint a daioni a chariad diderfyn at ddyn yn ei drueni, sydd yn dod i'r golwg yn ngwyrthiau yr Arglwydd Iesu. Cafodd y dall ei olwg, a'r gwrthrych cyntaf a welai yn y byd oedd Jehofa mewn cnawd, yn sefyll ar y ffordd o'i flaen; a gallwn synied yn naturiol, er fod pob peth yn newydd o'i gwmpas, nad hawdd oedd tynu ei olygon oddiar y Gwr oedd wedi agoryd ei lygaid, a bwriai ei galon allan ffrydiau o fawl a diolchgarwch i'w gymwynaswr mawr.

Tra yr oedd hyn yn myned yn mlaen ar y ffordd, daeth dyn hynod arall i'r golwg, sef Zaccheus, penpublican cyfoethog, a dyn o ymddiried mawr dan y llywodraeth, yr hwn a drigai yn y ddinas, neu, efallai, yn un o'r meusydd pentrefol hyfryd. Yr oedd yntau yn llawn awydd am gael golwg ar yr Iesu, a chan hyny rhedodd yn mlaen a dringodd i sycamorwydden oedd ar fin y ffordd. Gwnelai hyny am ei fod yn fychan o gorffolaeth, ac felly dan anfantais fawr i gael golwg ar yr Iesu yn nghanol y dorf. Dichon hefyd fod y swydd a ddaliai yn peri fod pawb yn ei ddiystyru, ac y buasai ei waith yn ymwthio yn mlaen yn debyg o enill iddo aml gilgwthiad dirmygus a chellweirus gan y dorf. Credwn yn sicr y gwnaem gam

a'r dyn bach i farnu mai chwilfrydedd bachgenaidd oedd yn peri iddo ddymuno gweled yr Iesu; yn hytrach, yr oedd ynddo deimlad dwfn o atdyniad at yr Iesu. Ni ddaeth iachawdwriaeth i'w dy cyn iddo deimlo ei hangen. Er ei fod mewn swydd ag y cymerid mantais arni yn fynych i dreisio y gweiniaid a'r diamddiffyn, methwn ganfod un rheswm dros ddweyd ei fod ef felly. Cyfranai yn hael i'r tlodion, a gweinyddu cyfiawnder a thegwch tuag at ei gyd-ddynion ydoedd ei reol, o leiaf er's rhyw gymaint o amser yn flaenorol i hyn. Gwir ei bod yn aneglur pa un ai desgrifio ei arferion yr amser a aethai heibio, neu ynte draethu ei fwriadau pa fodd y gwnai yn y dyfodol, yr ydoedd. Ond pa un bynag o'r ddau, dangosai arwyddion sicr o wir edifeirwch, yr hyn a dderbynid felly gan yr Arglwydd Iesu. Eithr perthynai i ddosbarth a ddirmygid tua'r deml gan y Phariseaid, a gweinidogion y cysegr; ac er ei fod yn gyfoethog, fel y gallai fwynhau y goreuon o bob peth a allai gwlad yn llifeirio o laeth a mêl weini iddo, eto teimlai wagle yn ei enaid nad allai dim a feddai y ddaear ei lenwi. Gwyddai Mab Duw hyn oll, ac yr oedd yn barod bob amser i groesawu y fath yma. Edrychodd i fyny a galwodd ar Zaccheus, gan ddweyd, "Disgyn ar frys, canys rhaid i mi heddyw aros yn dy dŷ di." Ni dderbyniodd dyn erioed archiad ag yr oedd yn fwy parod i'w gyflawni nag y derbyniodd y pen-publican archiad yr Iesu.

Wedi aros yn ei dy i fwyta, a gorphwys am ryw dymor, gan adael ar ei ol fendith ag y mae Zaccheus mewn mwynhad o honi byth, cychwynodd yr Arglwydd Iesu yn mlaen tua Jerusalem, a chyraeddodd

dy Martha, yn Bethania, ddydd Gwener, yr wythfed o fis Nisan, sef y dydd olaf o Fawrth, dybygid, ar fin y Sabboth. Arosodd yno y nos hono i orphwys, ac hefyd i dreulio y Sabboth. Yr oedd ei deithiau yn awr ar ben, oddieithr ychydig i Jerusalem y boreuau, ac yn ol i Bethania, neu fynydd yr Olewydd, yn yr hwyr i dreulio y nos. Ymddengys ei fod yn cyfeillachu yn rhydd â theulu Martha, yn fwy felly nag y gwnaeth â neb arall ond ei ddysgyblion yn unig.

Unwaith eto rhoddwn gam o'n llwybr hanesyddol, i gymeryd golwg gyffredinol ar ansawdd y genedl Iuddewig, y gwahanol raddau a'r pleidiau ynddi, yn nghyd a'u golygiadau am yr Iesu, a'u teimlad tuag ato. Buasai efe yn ddysgawdwr cyhoeddus am o leiaf dair blynedd, teithiasai a phregethasai lawer iawn, yn benaf yn Galilea a glanau Môr Tiberias, rhoddasai gyfleusdra i bawb ei weled a'i wrando, ac iachasai lawer o filoedd, yn ddiau, o bob math o afiechydon, a hyny mewn dull ag oedd yn dwyn argyhoeddiad i feddwl pob dyn diragfarn ei fod yn fwy na dyn, yn fwy na phroffwyd, ac fod y gallu goruwch-naturiol yn aros ynddo ef ei hunan. Ond er mor eglur yr oedd ei ddwyfoldeb yn pelydru trwy y ddynoliaeth, mae yn eglur fod corff y genedl mewn amheuaeth a dyryswch yn ei gylch; lluaws o honynt yn gobeithio mai efe oedd yr hwn a waredai yr Israel, ac y byddai iddo mewn amser priodol amlygu ei hun. Yr oedd ychydig nifer yn ei garu, ac yn credu ynddo, eto yr oeddynt yn dra chyfeiliornus eu syniadau am ei neges fawr yn y byd. Yr oedd mawrion y wlad, blaenoriaid crefyddol y genedl, yn ei gasâu ac yn ei ofni yn ddirfawr, am y gwelent yn eglur fod ei athrawiaeth a'i fuchedd

sanctaidd yn dynoethi eu traddodiadau cyfeiliornus a'u buchedddau ansanctaidd hwy; ac yr ydoedd eisoes wedi myned yn mhell i gymylu eu parch hwy gyda y bobl. Parai y meddwl am golli eu parch a'u dylanwad iddynt grynu. Caseid ef gan y Saduceaid o herwydd ei burdeb a'i ysbrydolrwydd, a chan y Phariseaid o herwydd ei haelfrydedd, ei garedigrwydd a'i diriondeb tuag at bawb, yn arbenig tuag at y publicanod a'r pechaduriaid, a ddiystyrid gymaint ganddynt hwy. Cydwelai y pleidiau hyn, yn nghyd a'r Herodianiaid, lygad yn llygad, y byddai i'w lwyddiant beri chwyldroad ar holl draddodiadau ac arferion henafol a hybarch y genedl. Ni roddai ef un pris na gwerth ar eu sancteiddrwydd uchel hwy, eithr dynoethai hwy fel rhagrithwyr diegwyddor, a thystiai yn gyhoeddus yn y deml a manau eraill, y byddai raid iddynt oll gael eu geni drachefn cyn y gallent fyned i mewn i deyrnas Dduw, a bod yn ddeiliaid cymwys i'r Messiah. Yr oedd derbyn hyn oll gan un o wyr gwledig a diddysg Galilea, yn gwbl annyoddefol gan y dynion uchelfrydig hyn. Dallid hwy gan eu rhagfarn a'u gelyniaeth tuag ato, fel nas gallent ei adnabod. Yr oedd ei fawredd anfeidrol yn guddiedig oddiwrthynt, fel yr haul tu ol i'r cwmwl; eto tanbeidiai y goleuni weithiau fel ag i roddi cwbl sicrwydd iddynt hwy a phawb fod yno haul er hyny.

Yr oeddynt wedi cwbl gamddeall y proffwydoliaethau am y Messiah, ac yn hollol gyfeiliornus eu barn am y fath un a fyddai. Fel mae yn hysbys, yr oedd yr Iuddewon er ys llawer oes wedi colli eu hannibyniaeth fel cenedl, ac wedi eu darostwng o dan lywodraeth a gorthrwm y breniniaethau cryfion a godent y naill ar

ol y llall yn Asia. Yr oedd y pedair breniniaeth a welodd Daniel wedi bod a'u dwylaw yn drwm arnynt, ac yn awr yr oedd yr olaf a'r greulonaf o honynt, sef y Rufeinig, yn eu llywodraethu â gwialen haiarn; a'u dysgwyliad ydoedd, pan ddeuai y Messiah, y byddai iddo ddarostwng holl genedloedd y ddaear yn ddeiliaid ufudd a gwasanaethgar iddynt hwy. Yr ydoedd y darlun ysblenydd a dynasai yr hen broffwydi o deyrnas y Messiah, sef teyrnas ysbrydol yr efengyl yn y dyddiau diweddaf, ar un olwg, yn ffafrio eu syniadau daearol. Ond am yr ochr arall i'r darlun, sef y desgrifiadau o ddyoddefiadau a marwolaeth y Messiah, ni cheisient eu deall, ac ni roddent le i'r syniad yn eu credo o gwbl. Yr olwg fawreddog, lwyddianus, ar y deyrnas yn unig a dderbynient. Coleddid y cyfeiliornad hwn yn gyffredinol yn eu mysg. Bodolai yn meddyliau hyd yn nod ei ddysgyblion, a hyny ar ol ei holl ddyoddefiadau, ei angau, a'i adgyfodiad o feirw. Cymerasai yr Iesu drafferth gyda hwy i'w dysgu yn wahanol; dywedasai yn eglur lawer gwaith, mai un i ddyoddef a chael ei ladd oedd y Messiah. Traethasai gynifer o weithiau mewn ymadroddion clir, fel y syna y darllenydd pa fodd nad oeddynt yn ei ddeall; ond cawn hyd yn nod y ddau flaenaf, sef Iago ac Ioan, i'r rhai yr oedd wedi rhoddi pob mantais i wybod a deall, a'u calonau yn llawn o'r syniad am fawredd daearol llywodraeth y Messiah, ac yn rhagofalu yn lew am y lleoedd uchaf ynddi. Gallem feddwl bron fod eiddigedd rhwng y ddau frawd pa un a gai gadair y llaw dde. Nis gallent ddirnad pa beth a feddyliai y proffwydi, na pha beth feddyliai yr Iesu pan yn son am yr angau poenus oedd yn ei aros. Ar

yr un pryd, cam mawr ag un-ar-ddeg o honynt fyddai dywedyd mai mawredd daearol oedd yn eu golwg wrth ddilyn yr Arglwydd Iesu. Na, gwreiddyn eu hymlyniad hwy wrtho oedd eu cariad tuag ato; aethai eu serch a'u bryd ar ei ol. Yr oedd grym ei ddylanwad ar eu calonau yn anorchfygol. Amgylchynasid hwy megys â chwmwl, fel na chanfyddent neb na dim ond efe, nes y daethant yn raddol i adlewyrchu ei ddelw yn eu bywyd a'u hymarweddiad, yn gystal ag yn eu pregethau a'u hysgrifeniadau.

Er fod yr Arglwydd Iesu wedi cyflawni nifer mawr o weithredoedd nerthol na allasai ond anfeidrol allu Duw eu cyflawni, eto nid ydoedd wedi gwneyd cymaint ag un y dychymygai y genedl y byddai i'r Messiah gyflawni pan y delai. Ni wnaethai ddim tuag at ddarostwng eu gelynion, a dwyn gwaredigaeth dymorol i Israel. Ymddangosai y waredigaeth hon mor belled ag erioed. Casglai y publicanod cas y trethi ar hyd y dinasoedd a'r trefydd i Ymerawdwr Rhufain, gan eu gorthrymu yn ddidosturi; ac yn hytrach na gwrthwynebu y rhai hyn, ymddygai yr Iesu gyda y tiriondeb mwyaf tuag atynt, a dewisodd un o'i ddysgyblion allan o honynt. O bob peth, cael eu gelynion gorthrymus dan eu traed y sychedai y genedl fwyaf am dano, ac yr oeddynt yn gobeithio, ac yn credu yn gwbl sicr, pan y delai y Messiah, y caent eu dymuniad i'r eithaf. Gan nad oedd yr Iesu yn debyg o ateb eu dyben yn hyn, nid ydoedd o un gwerth yn eu golwg. Messiah mewn rhwysg a mawredd daearol yr oeddynt hwy yn ei ddysgwyl, ond gwr mewn agwedd gwas oedd yr Iesu, a chan hyny yr oeddynt yn ei wrthod. Er hyn oll yr oedd y wlad o ben-bwy-gilydd yn y

berw mwyaf yn ei gylch trwy holl ystod ei weinidogaeth; a'r gofyniad pryderus gan luaws oedd, Ai efe oedd y Messiah? Mynych y rhoddid y gofyniad hwn iddo ef ei hunan; gwrthodai yntau bob amser roddi un gefnogaeth i'r dyb gyfeiliornus am waredigaeth dymorol drwyddo, ond cydnabyddai a honai yn y modd mwyaf pendant mai Mab Duw, mai Gwaredwr pechaduriaid ydoedd, mai efe oedd sylwedd y cysgodau a gwrthrych mawr y proffwydoliaethau, ac mai ei neges yn y byd oedd dod i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid. Yr ydoedd amryw weithiau wedi cydnabod ei hun yn Fab Dafydd, yr hyn oedd gyfystyr, dybygent hwy, a honi hawl i freniniaeth Judah a gorsedd Dafydd. Teyrnas a llywodraeth ysbrydol ar galonau dynion a olygai efe, ond brenin gyda chleddyf noeth yn ei law i arwain eu byddinoedd, a olygent hwy.

Bellach awn yn mlaen i geisio dylyn yr Arglwydd Iesu am y gweddill byr o'i oes; er nad oedd ond pum' wythnos o amser, eto cynwys y dygwyddiadau pwysicaf a rhyfeddaf a gymerasant le erioed yn un rhan o greadigaeth Duw. Gwnaed y parotoadau mwyaf ar gyfer yr wythnos hon o'r tragywyddoldeb diddechreu, a bydd y coffadwriaeth am dani yn newydd i dragywyddoldeb diddiwedd. Wedi iddo gyraedd Bethania tua dydd Sadwrn, Ebrill y cyntaf, medd amryw o'n haneswyr manwl, gwnaed swper o groesaw i'r Iesu yn nhy Simon, y gwahanglwyfus, fel y'i gelwir gan yr ysgrifenydd sanctaidd, am iddo yn debygol gael ei lanhau o'r clefyd arswydus hwn ryw bryd yn flaenorol gan yr Arglwydd Iesu. Ymddengys Martha, Mair a Lazarus, yn hollol gartrefol yn nhy Simon, ac ar-

weinia hyn rai i feddwl fod perthynas agosach na chymydogion rhwng y ddau deulu, ond mae yr Efengylwyr yn gwbl ddystaw ar hyn. Yr oedd y tri yno, beth bynag—Lazarus yn eistedd wrth y bwrdd, Mair yn eistedd o'r tu ol, a Martha fel arferol yn brysur yn gweini ar y cwmni. Yr oedd calon Mair yn llawn o gariad at yr Iesu, a pharai ei theimlad byw o ddiolchgarwch iddo am adfer ei brawd anwyl o fro marwolaeth, iddo ymchwyddo a llifeirio allan yn ffrwd fawr. Yr oedd ganddi flwch o alabaster gwyn, prydferth, yn cynwys tua deuddeg wns o enaint, nard gwlyb, gwerthfawr. Torodd y sel, gan dywallt yr oll ar ben a thraed yr Arglwydd Iesu. Cyfrifir fod yr enaint yn werth agos i haner can' dolar o'n harian ni, a dylid cofio fod aur y pryd hwnw yn werth cymaint chwech gwaith o leiaf ag ydyw yn awr. Cymerasai flwyddyn gron o amser i ddyn weithio yn galed i enill y swm yma yn yr oes hono. Tybiwn hefyd y buasai chwarter yr oll o hono yn gyflawnder mawr ar yr achlysur, eithr nid oedd Mair yn meddwl nac yn gofalu dim am ei werth; cawsai fyned, yn ddiau, pe buasai yn werth byd o aur. "Ni roddir pris ar gariad," na chan gariad ychwaith. Oh! Mair anwyl, brydferth, ddedwydd, gweithred ogoneddus ydoedd. Yr oedd y gwrthrych yn ddigon teilwng, ac ni bydd byth yn edifar ganddi; seinir ei henw yn barchus dros holl wyneb y ddaear hyd oriau olaf amser, am y fath weithred. Bydd yn cael ei *lispio* yn brydferth o enau y plentyn bychan wrth adrodd yr hanes bob yn air ar ol ei fam dduwiol, ac o eneuau bonedd penaf y byd yn eu palasau. Cyfododd gof-golofn iddi ei hun nad all cilddanedd amser ei malurio byth. Nid rhyfedd

ei bod yn cario cydymdeimlad y miloedd o flaen Martha, ei chwaer. Achubodd y fantais arni tra yr oedd Martha yn bryeur yn gweini ar yr Iesu. Bendigedig ydyw hithau hefyd.

Mor hyfryd ydyw synu a siarad uwch ben yr hanes. Rhoddai yr Arglwydd Iesu ei hun y pris uchaf oedd yn bosibl ar y weithred hon o eiddo Mair. Cyffyrddasai â dyfnderoedd ei galon, a mynai i'r byd wybod hyny. Y mae ambell Fair eto yn ein byd. Arferir y gair "Blodau yr oes" yn fynych y dyddiau hyn, a gair prydferth dros ben ydyw hefyd, a dyma y blodau prydferthaf, dysgleiriaf, a mwyaf per eu harogl sydd yn ngardd Duw, sef merched ieuainc llawn cariad cynes tuag at yr Iesu, a'u mynwesau yn ymgynyrfu pan y clywant lythyrenau ei enw yn cael eu seinio, a rhai yn gwneyd a allant gyda ei achos. Ferched ieuainc prydferth, gwyryfon glân ein cenedl, dangoswch eich serch yn mhob modd ag y gall eich calon ei ddychymygu at yr Iesu a'i achos, a bydd eich enwau chwithau yn perarogli, pan fydd enwau annuwiolion y tir yn pydru. Mor lythyrenol y cyflawnwyd geiriau yr Iesu, fel y mae enw Mair yn glodfawr trwy yr holl fyd; enillwyd llawer calon i garu yr Iesu trwy edrych ar brydferthwch duwioldeb Mair o Bethania. Ond yr oedd un yn y cwmni wrth fwrdd y swper a deimlai yn dra gwahanol. Yr oedd Judas Iscariot a'i fynwes yn llosgi mewn cenfigen tuag at Mair, a'r Iesu hefyd, ac yr oedd wedi tynu rhai o'r dysgyblion i'r un amryfusedd ag ef ei hun. Gwastraff pur oedd y cwbl yn ei olwg. Sonia y frawdoliaeth gerddorol yn fynych am *discord*. Rhyw *discord* cras, dyeithr, ydyw swn ceiniogau yn y fath hanes a hwn, a buasai yn dda

genym, er anrhydedd i'r ddynoliaeth, pe buasai Judas yn tewi a son. Eithr rhydd esmwythder i feddwl y darllenydd ddarfod i'r Iesu, wrth edrych ar ei chariad pur, gymeryd plaid Mair, a rhoddi gwers i Judas Iscariot nad ydyw eto wedi ei hangofio, mae yn debyg. Rhoddodd yr Iesu olygiad ar y weithred nad ydoedd Mair yn meddwl dim am dano pan yn ei chyflawni. "Hi a achubodd y blaen i eneinio fy nghorff erbyn y claddedigaeth." Deallodd Judas ryw fodd fod yr Iesu yn canfod trwy ei holl amcanion, ac o hyny allan cadwai gyfrinach â'r Phariseaid i'w fradychu i'w dwylaw, ac ar yr un pryd ceisiai gadw gwyneb i'r Iesu. Yr oedd yma anghysondeb hynod, fel y dygwydd yn gyffredin mewn dynion o fath Judas. Teimlai fod yr Iesu yn canfod ei holl fwriadau, a cheisiai gredu i'r gwrthwyneb, nad oedd, onide paham y buasai yn ceisio cadw gwyneb teg iddo pan yn ymdrafod â'r penaethiaid i'w werthu a'i fradychu iddynt? Rhyfedd fel y mae y diafol yn gwneyd ffyliaid o ddynion pan wedi cael y llaw uchaf arnynt.

## PENNOD XXI.

*Yr Iesu yn marchogaeth—Y ffigysbren deiliog diffrwyth—Dameg y ffigysbren—Bwrw y marchnatawyr o'r deml—Ceiniog Cæsar—Mab Dafydd.*

Yr oedd gwyl y Pasg bellach yn ymyl, ac yr oedd yr Iuddewon gwasgaredig o'r holl wahanol wledydd, os gallent ryw fodd, yn dyfod i Jerusalem i'w chadw. Am lawer o ddyddiau yn flaenorol i'r wyl, yr oedd y ffyrdd a'r llwybrau yn fyw o deithwyr, a phob un a'i wyneb tua'r ddinas sanctaidd. Cyfrifa yr ysgrifenwyr mwyaf gofalus a chymedrol, megys Dr. Hanna, Dr. Stanley, ac eraill, fod cynifer a thair milfil (3,000,000) o eneidiau yn y ddinas, ac yn pabellu ar y bryniau o'i hamgylch, dros adeg yr wyl. Mae enwi y fath nifer yn swnio yn ddyeithr, a bron yn anhygoel; eto wrth gydmaru amgylchiadau a phethau, yr ydym yn cael ein gwasgu i gredu nad ydyw y gwyr parchus hyn yn mhell o'u lle. Yr oedd llawer yn dod yno yn gynarol, amryw ddyddiau cyn dechreu yr wyl, i buro eu hunain oddiwrth unrhyw aflendid seremoniol a ddygwyddai fod arnynt, fel y gallent fwyta y pasg, a chyduno yn y llawenydd a'r gwledda.

Yr ydoedd enw Iesu o Nazareth yn eithaf hysbys i'r holl filoedd hyn, ac efe oedd testyn mawr y siarad a'r dadleu yn eu mysg. Yr oedd dysgwyliad a phryder hefyd am ei weled yn dod i'r wyl, oblegid yr oedd y penaethiaid wedi rhoddi cyhoeddiad allan, os gwyddai neb pa le yr oedd efe, am ddyfod a hysbysu iddynt hwy, fel y gallent ei ddal. Ac wele y newydd ei fod

yn dyfod, a'i fod eisoes yn Bethania, lai na dwy filldir o'r ddinas, a thorf fawr iawn o bobl yn ei ganlyn. Yr oedd llawer calon ag oedd yn ei garu, ac wedi derbyn cymwynasau mawr oddiar ei law, yn curo yn gyflym yn y fynwes am ei ddiogelwch; ond ychydig oeddynt yn ddeall o athrawiaeth trefn iachawdwriaeth, fod yn rhaid lladd y Messiah, nid o'i achos ei hun mae'n wir, fod yn rhaid gollwng gwaed er maddeuant pechodau. Pwy ond yr Iesu anwyl a fuasai yn myned yn mlaen i ddinas, tra yn gwbl sicr ar y pryd y buasai trigolion y lle yn ei groeshoelio cyn pen wythnos? Wedi i sicrwydd gyraedd Jerusalem ei fod ef yn nesâu, trodd y preswylwyr a'r dyeithriaid oedd ynddi allan wrth y miloedd i fyned i'w gyfarfod, i gael golwg arno, ac i weled Lazarus hefyd, yr hwn a fuasai bedwar diwrnod yn myd yr ysbrydoedd. Wedi nesâu o hono at y ddinas, anfonodd yr Iesu ddau o'i ddysgyblion i bentref ag oedd ychydig o'r ffordd, i ymofyn ebol llwdn asen, iddo i farchogaeth i'r ddinas; yr unig waith, mae yn debygol, y bu yn marchogaeth erioed. Gwr traed ar bob tywydd ydoedd ef. Cerddodd yr Arglwydd Iesu, efallai, fwy i bregethu yr efengyl mewn tair blynedd a haner o amser, ar hyd llwybrau serth, creigiog, Palestina, nag a gerddodd neb o'i weision mewn hyny o amser byth ar ol hyny, mewn unrhyw wlad nac oes. Ac oni buasai fod rhywbeth mwy pwysig nag arbed cerdded y waith hon, ni welsid ef yn marchogaeth o gwbl.

Yr oedd efe wedi siarad cymaint yn ddiweddar am ei ddyoddefiadau a'i angau yn nghlyw ei ddysgyblion, nes yr oeddynt wedi eu tori i lawr a'u darostwng, a diau eu bod yn mynych glywed awgrymiadau gan y

torfeydd oedd yn canlyn, eu bod yn cael eu twyllo, ac yn debyg o gael eu harwain i ofidiau wrth ei ganlyn. Efallai mai er adgyfnerthu eu calonau ychydig y cymerodd am y tro wedd brenin yn lle agwedd gwas. Y mae rhyw debygrwydd i rwysg breninol yn y dull yr anfonodd am anifail i'w farchogaeth. Nid ei brynu a wnaeth, na gofyn i'w berchen am ei fenthyg, ond ei gymeryd fel un ag awdurdod ganddo, eto mewn dull nad allai neb gael un ffug o reswm i'w feio am hyny. Wedi iddo eistedd ar yr anifail bychan, a chychwyn yn mlaen a'i wyneb tua Jerusalem, y mae ysbrydoedd y dorf fawr yn ymgodi ac yn cymeryd tân ar unwaith, a dechreuasant floeddio nes oedd y creigiau yn adsain, "Hosanna i Fab Dafydd, bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd," a hyny, mae'n debyg, heb wybod yn iawn beth oeddynt yn ei wneyd. Geiriau y Salmydd oeddynt, yn cyfeirio, fel y deallai pawb, at y Messiah hir-ddysgwyliedig. Ymledai teimlad cryf fel tân gwyllt trwy fynwesau yr holl dorf, a chawn i rai o honynt dynu eu dillad a'u taenu ar y ffordd o'i flaen, er gwneyd ei lwybr yn hyfryd. Ond cyn pen wythnos cawn lawer o'r tafodau a floeddient "Hosanna," yn gwaeddi yn llawn mor uchel, "Croeshoelier ef."

Wrth ei weled yn dyfod i mewn yn y dull anarferol hwn, taflwyd y ddinas fawr a'r holl luaws pobloedd oedd ynddi i'r berw mwyaf trwyddi draw. Pasiai pob math o ofyniadau ac atebion o enau i enau gyda'r cyflymdra mwyaf. Mae yn debyg y gallai yr archoffeiriaid a'r cyngor weled y dorf yn disgyn ochr mynydd yr Olewydd, a chlywed swn y bloeddio, o'u hystafell yn y deml, lle yr eisteddent i gynal eu llys,

ac yr oeddynt yn y benbleth fwyaf o'r achos. "Gwelwch," meddynt, "mae y byd yn myned ar ei ol ef." Yr oedd arnynt ormod o ofn y bobl i ruthro arno a'i lofruddio ar yr heol, onide hyny a wnaethent, mae yn debygol. Ond er yr holl groesaw mawr hwn, gwelid y dagrau yn treiglo dros ruddiau hawddgar yr Iesu yn achos y ddinas, pobl yr hon a'i molianent fel hyn. "Pe gwybuasit tithau yn dy ddydd hwn," meddai, "y pethau a berthynant i'th heddwch, ond y maent yn guddiedig oddiwrth dy lygaid." Yr oedd y dinystr a'r gofidiau yn amlwg i'w olygon ef y foment hono, a thynai ddarluniad eglur o hono i'r bobl, i'w rhybuddio mewn pryd i adael eu pechodau. Galwai y Phariseaid ar yr Iesu i atal y llefain, yr hyn i'w clustiau hwy a swniai yn gableddus. Paham na buasent hwy eu hunain yn ceryddu y bobl i dewi? Am y gwyddent yn dda fod yr hyn oll a ddywedai y dorf yn wirionedd nad allent ei wrth-ddywedyd. Mae yn hawdd genym gredu fod y dyfodiad cyhoeddus hwn o eiddo yr Arglwydd Iesu i Jerusalem yn arwyddocaol. Yr oedd ei wedd syml yn marchogaeth ar ebol llwdn asen, yn addfwyn ac isel, ac yn cael ei ddylyn gan y werin, yn hytrach na bod ar y rhyfelfarch mawreddog, wedi cael ei wisgo mewn porphor ac ysgarlad, ac yn cael ei amgylchu gan fawrion y byd, yn rhoddi awgrymiad pa fath ydoedd llywodraeth y Messiah i fod. Nid oes mawredd daearol o amgylch ei orsedd ef. Mae y cyflawniad manwl o broffwydoliaeth Zecharias yn wystl y cyflawnir gweledigaeth broffwydol Ioan am y gwr ar y march gwyn yn myned allan yn gorchfygu ac i orchfygu. Mewn atebiad i'r Phariseaid, dywedai yr Iesu, "Pe tawai y rhai hyn, llefarai y ceryg yn y man."

Yr oedd y peth o gymaint pwys, fel, pe cadwasai y dyn yn ddystaw, y buasai ceryg y palmant yn gwaeddi.

Wedi dyfod i mewn i'r ddinas, aeth yr Arglwydd Iesu rhag ei flaen i'r deml, a gellid meddwl fod dysgwyliad pryderus yn llanw calon y bobl am weled rhyw arwydd ganddo, rhyw wyrth benderfynol, fel ag i dori pob dadl yn eu meddyliau mai efe ydoedd yr un oedd ar ddyfod, a syllent arno mewn syndod a dystawrwydd. Pan ddystawodd y bobl, dechreuodd y plant bach oedd yn eu mysg (fel y mae yn naturiol i blant efelychu rhai mwy) waeddi, "Hosanna i Fab Dafydd." Ymwasgai lluaws o gleifion, deillion, a chloffion, yn mlaen am iachâd; ac fel y troai y rhai hyn ymaith y naill ar ol y llall, wedi derbyn eu neges, codai y plant eu llef yn uwch, "Hosanna i Fab Dafydd." Gorchymynodd yr archoffeiriaid yn awdurdodol iddo ostegu y swn, i'r hyn yr atebodd yr Iesu, mai "O enau plant bychain, a rhai yn sugno, y perffeithiaist foliant." Wedi iachâu y cleifion oll, dechreuodd yr Iesu draethu eto am ei ddyoddefaint a'i angau oedd gerllaw, yr hyn yn fuan a oerodd sêl y torfeydd tuag ato, oblegid nis gallent hwy amgyffred pa fodd y gallasai y Messiah hwn, oedd i deyrnasu byth, gael ei roddi i farwolaeth. Erbyn machlud haul, yr oedd yr holl frwdfrydedd yn ei achos wedi myned bron i gyd gyda'r awelon.

Wedi myned trwy lafur cynyrfus y dydd, gadawodd yr Iesu y ddinas, gan fyned i orphwys, efallai, i dy Martha a'i chwaer, a Lazarus, i Bethania. Boreu dranoeth cychwynodd eilwaith tua'r deml. Dywed Matthew fod yr Iesu yn gadael y ddinas ac yn myned i Bethania, i letya yno; a dywed Marc, "Wedi iddo

ddyfod allan o Bethania, yr oedd chwant bwyd arno." Luc, mewn dull mwy cyffredinol, efallai, a ddywed, ei fod yn myned y nos i fynydd yr Olewydd; a chan Ioan cawn y geiriau, "A phawb a aeth i'w dy ei hun, a'r Iesu a aeth i fynydd yr Olewydd." Wrth gydmaru y dywediadau hyn, mae yn ddigon naturiol i ni gasglu ei fod weithiau yn myned i Bethania, yr hwn le oedd ar lethr mynydd yr Olewydd, ac weithiau yn aros trwy y nos yn yr olewydd-lanau, efallai, ar y mynydd, yn ymprydio ac yn gweddio mewn unigedd ar hyd gwyliadwriaethau y nos. Os bu felly y nos flaenorol i'r boreu y melldithiodd y ffigysbren, mor naturiol ydyw yr hanes fod arno chwant bwyd. Wedi iddo ganfod ffigysbren ac arno ddail, efe a ddaeth i edrych a gaffai ffrwyth arno, a phan ddaeth ato ni chafodd ddim ond dail, canys nid oedd yn amser ffigys. "A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Na fwytaed neb ffrwyth o honot byth mwyach. A'i ddysgyblion ef a glywsant." Dywed Matthew, "Ac yn ebrwydd y crinodd y ffigysbren." Mae gradd o anhawsder i'r darllenydd ieuanc ddeall yr hanes hwn, a cheisiwn ei gynorthwyo. Gwyddai yr Arglwydd Iesu, gan ei fod yn hollwybodol, nad oedd ffrwyth ar y pren, cyn myned ato. Paham, ynte, yr aeth i geisio, ac yr ymddangosai i'w ddysgyblion fel yn dysgwyl ffrwyth, ac y dangosodd gymaint anfoddlonrwydd am nad oedd ffrwyth i'w gael? Paham yr ymddygai at y pren fel pe buasai yn gyfrifol, gan ei gospi megys o herwydd euogrwydd? Ychwanegir yr anhawsder hefyd trwy y gair, "Canys nid oedd yn amser ffigys." Gan ei bod yn dymor ar y flwyddyn nad oedd ffrwyth i'w gael, sef diwedd mis Mawrth, onid oedd y pren yn

gwbl esgusodol? Parth yr anhawsder cyntaf, tybiwn i'r Iesu fyned i geisio ffrwyth, am y dewisai ddangos pa fodd y bydd ar ddyn neu genedl pan y daw efe i geisio ffrwyth cyfiawnder, a chael dim ond rhyw ddail o broffes ymffrostgar. Ni phriodolai yr Iesu gyfrifoldeb moesol i'r pren pan yn ei daro â diffrwythder, eithr dangosai fod ynddo addasrwydd i gynrychioli creaduriaid rhesymol a chyfrifol. Cyfeiria yr ymadroddion ysgrythyrol yn nghylch coed ffrwythau, megys "pren drwg" a "phren da" yr un ffordd. Iaith natur ydyw, ac mae yn llawer mwy grymus na iaith llafar. Yr oedd ei ddysgyblion yn ei ddeall, oblegid yr oeddynt yn hysbys o'r fath ddull. Drachefn, onid ydyw yr ymadrodd, "Nid oedd yn amser ffigys," yn llwyr gyfiawnhau y pren oddiwrth beth tebyg i euogrwydd, neu fod yn "bren drwg." Yn y tymor cynar hwn o'r flwyddyn nid oedd yn naturiol fod dail na ffrwyth ar y ffigysbren, ac nid oedd un o goed ffigys y gymydogaeth a deilen arno ar y pryd ond hwn yn unig, felly yr oedd trwy osod allan ei ddail yn proffesu yn ffrostgar ei fod ef yn rhagori ar holl goed y wlad, fod ganddo ef ffrwyth i loni y teithydd, tra nad oedd gan y prenau eraill ddim, oblegid ymddangosai y ffrwyth ar y ffigysbren o flaen y dail yn ol trefn natur. Galwai hwn fel hyn ar y sawl elent heibio, i ddyfod a bwyta o'i ffrwyth, a phan y cymerodd yr Iesu ef ar ei air, trodd allan nad oedd ddim gwell na'r coed ereill oedd heb ddeilen arnynt, ïe, yr oedd yn llawer mwy diystyredig na'r gwaelaf o honynt.

Yr oedd yr Arglwydd Iesu, fel y gwelsom, wedi llefaru dameg y ffigysbren diffrwyth yn y winllan, dro yn ol, ac yn hono wedi gadael y ffigysbren megys ar

brawf, yn nechreu ei bedwaredd flwyddyn. Yr oedd eiriolaeth daer y gwinllanydd wedi llwyddo gyda'r perchen i'w adael y flwyddyn hono hefyd. Ar yr adeg ddifrifol hon ar hanes y pren, syrthiodd y llen gan ei guddio o'r golwg. Dymunai y darllenydd yn ddiau wybod beth a ddaeth o hono, a ddygodd ef ffrwyth. Tybiwn fod y ddameg hono yn awr yn cael ei gorphen mewn gweithred, sydd yn arwyddocaol a phroffwydol, ac yn sicr yn cyrhaedd yn llawer pellach na'r hen genedl Iuddewig gynt. Y mae yn ddarlun byw o bob dyn yn mhob oes a gwlad sydd yn dwyn proffes o grefydd heb ffrwyth cyfatebol. Edrycher ar y ffigysbren gyda ei ddail gwyrddlas, dysglaer, prydferth, ond yr oedd wedi methu yn y prif beth, sef dwyn ffrwyth. I ddwyn ffigys y crewyd y ffigysbren, a chan nad oedd yn ateb dyben ei gread er yr holl driniaeth a'r gofal o hono, beth oedd mwyach i'w wneyd ond ei dori i lawr. Yr oedd y wyrth hon o eiddo yr Iesu yn wyrth ddinystriol ar fywyd, ond bywyd llysieuol ydoedd yn unig; a chan ei bod yn ddinystr oddiwrth yr Iesu addfwyn, yr oedd yn galw sylw arbenig. Gallasai daro Annas a Caiaphas yr archoffeiriaid annuwiol, a dychrynu y genedl oddiwrth eu pechodau trwy farnedigaethau, ond taro pren ar y cytir cyffredin, heb fod yn eiddo i neb, a wnaeth. Yr oedd ar fin y ffordd fawr oedd yn arwain o Jerusalem i Jericho, ac i'w weled gan yr holl ganoedd o filoedd oeddynt yn myned a dyfod i'r wyl. Dameg oedd hyn oll, ond dameg mewn gweithred ydoedd, ac felly yn taro meddwl y dwyreinwyr yn llawer mwy clir na dameg lafaredig.

Aeth yr Arglwydd Iesu yn foreu i'r deml y dydd hwn, sef ein dydd Llun ni. Mae yn debygol fod y

farchnad anifeiliaid wedi darfod cyn iddo ddod i'r deml y dydd blaenorol, ond y boreu hwn yr oeddynt wrthi yn egniol yn prynu ac yn gwerthu, yn canmol ac yn diraddio—pob un at ei fantais ei hun, yn union fel yr oeddynt ar y pasg hwnw dair blynedd yn flaenorol. Yr oedd efe y pryd hwnw, fel Mab y Duw mawr a addolid yn y deml, wedi dangos ei awdurdod i wneyd fel y mynai yn ei dy ei hun, ac wedi bwrw y marchnatawyr allan, ond i ychydig bwrpas, oblegid yr oeddynt wedi dychwelyd, ac yr oedd cymaint o eisiau yr oruchwyliaeth lanhaol yn awr ag erioed, efallai fwy; o herwydd cawn fod yr Iesu yn fwy llym, yn ol gwedd yr hanes, na'r waith gyntaf. Pe gofynid paham y cyflawnodd yr Iesu y gyffelyb weithred ddwy waith, dichon y byddai yn ateb digonol i ddweyd fod yr Arglwydd Iesu yn cyflawni cyffelyb weithredoedd, ac yn traddodi cyffelyb ymadroddion, lawer o weithiau ar wahanol adegau, ac mewn gwahanol leoedd. Gwnai hyn am y gwyddai yn dda mor hwyrdrwm oedd y natur ddynol i ddeall a chymeryd i mewn y gwirioneddau a draddodai. Cawn iddo ddwy waith borthi y miloedd, adroddir am ddwy ddalfa fawr o bysgod, a thraddododd ranau o'i bregeth ar y mynydd amryw weithiau. Yn gyffelyb hefyd dangosodd ar ddechreu ac ar ddiwedd ei weinidogaeth gyhoeddus, yn y deml, ty ei Dad, yn ngwydd prif offeiriaid a blaenoriaid y genedl, mai efe oedd y gwir Fessiah, Mab y Duw byw. A gallwn, efallai, ganfod yn y tro olaf hwn neillduolion arbenig i'r amgylchiad. Y dydd o'r blaen yr oedd wedi apelio at y bobl trwy ymadroddion o enau eu proffwydi, y rhai a gydnabyddid gan bawb fel yn cyfeirio at y Messiah, a rhoddasai y werin groesawiad iddo

fel Messiah. Yn awr yr oedd yn briodol gwneyd y cyffelyb apeliad at weinidogion y cysegr a blaenoriaid y genedl, gan alw arnynt hwythau i'w gydnabod fel y Messiah addawedig. Gwyddai na byddai iddynt ei dderbyn, eto priodol ydoedd iddo ef roddi arwydd iddynt mai efe oedd yr un oedd ar ddyfod. Ymddengys i'r marchnatwyr ufuddhau mewn dychryn y waith hon eto fel y tro cyntaf, heb wneyd yr osgo lleiaf i'w wrthsefyll, ac ni adawodd yntau y lle nes yr oedd y gwaith wedi ei orphen, ac ni oddefai i neb gymaint a dwyn llestr cyffredin trwy gyntedd y cenedloedd. Ymddengys iddo fod yno am oriau heb i neb feiddio ysgwyd tafod yn ei erbyn, a'r bobl yn ymgynull wrth y miloedd ac yn ei wrando yn ewyllysgar. Ac fel mae yn naturiol iawn i'r claf a'r clwyfus dynu at y meddyg, wele y cloffion a'r deillion eto o'i amgylch, ac yntau yn eu hiachau fel y deuent ato, a thrwy hyny yn rhoddi tystiolaeth ddiymwad i bawb o'i fawredd a'i allu Dwyfol. Prin y gallesid credu mai yr un man oedd y cyntedd mawr yn awr ag ydoedd yn y boreu; yr adeg hono yr oedd swn cras y marchnatawyr yn gymysg a brefiadau yr anifeiliaid yn llenwi y lle, ond yn awr yr oedd pob peth yn dawel, yn briodol i gysegr Duw. Ond pa le yr oedd yr offeiriaid, yr ysgrifenyddion, a'r Phariseaid? Yr oeddynt, feddyliem, yn sefyll yn edrych, yn gwrando ac yn synu, fel dynion wedi dyrysu. Yr oedd eu mynwesau yn fflamio yn uwch nag erioed o elyniaeth at yr Iesu, ond yr oedd y bobl ar eu ffordd. Arswydent rhag dyrnau pwysig y gwladwyr oedd yno wrth y miloedd yn ei wrando gyda blas. Yr oedd ei weithred o ymosodiad hefyd ar y gwyr mawr hyn yn eu castell eu hunain yn beth na thybiodd

y werin y beiddiasai wneyd, a pharai hyn i'r teimlad lifeirio yn ffrydiau o'i blaid; er fe ddichon, fel y soniwyd, fod y teimlad hwn wedi rhedeg i lawr i raddau o'r hyn ydoedd y dydd blaenorol ar hyd y ffordd a'r heolydd, pryd yr oedd pawb yn fwy at eu rhyddid i ganu a bloeddio. Diau fod y dorf werinol o dan deimlad fod llygaid y swyddogion yn serenu arnynt yn barhaus, a bod hyn yn eu cadw yn ddystaw; eithr yr oedd yno blant bychain yn y deml, ac ni theimlai y rhai hyny ddylanwad presenoldeb y gwyr mawr, a gwaeddent yn galonog â llais clir, "Hosana i Fab Dafydd." Gwyddom fod yn hyfrydwch calon gan yr Iesu bob amser edrych ar blant bach, a lle bynag y caent hwy fodfedd o le yr oeddynt wrth y canoedd yn ymwthio ato, gan edrych a syllu yn ei lygaid siriol. Fel hyn y treuliwyd y dydd olaf ond un o weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu. Aeth ef yn yr hwyr gyda ei ddysgyblion i fynydd yr Olewydd, a'r penaethiaid hwythau i ymgynghori a'u gilydd pa fodd y lladdent ef.

Yn foreu dranoeth, sef boreu dydd Mawrth, dybygem, a'r trydydd dydd o wythnos fawr y dyoddefaint, daeth yr Iesu, fel arfer, yn foreu i'r deml, ac erbyn hyn yr oedd yr archoffeiriaid a'r blaenoriaid yn barod i ymosod arno er ei ddarostwng, os oedd yn bosibl, yn ngolwg y bobl. Yr oedd hyny o'r pwys mwyaf iddynt, sef llacio gafael y torfeydd ynddo, gan fod yn beryglus iddynt ddodi dwylaw treisiol arno tra y safai yn uchel yn ngolwg y lluaws—ofnent i'r rhai hyn godi terfysg ac i hyny ddwyn milwyr Pilat i'w taro hwy a'r bobl, yr hyn a wnaethent ar yr arwydd lleiaf o derfysg cyffredinol.

Tra yr oedd efe yn rhodio yn y deml, daethant gyda gwedd awdurdodol ato gan ofyn pa hawl oedd ganddo ef, dinesydd gwledig o Galilea, i awdurdodi dros y deml, a gyru y prynwyr a'r gwerthwyr allan, tra yr oedd swyddogion cyfreithlawn y deml yn caniatau hyny? a pha hawl oedd gan un diddysg fel efe i ddysgu y bobl yn gyhoeddus, yr hyn a berthynai yn unig i athrawon gosodedig y genedl. Ymddangosai y gofyniad yn eithaf teg. Rhoddasent ofyniad pur debyg dair blynedd yn flaenorol, ond newidiwyd geiriad a gwedd y gofyniad i raddau y waith hon. "Pa arwydd yr wyt ti yn ei roddi?" ydoedd y pryd hwnw. Cawsant arwydd ar ol arwydd, gwyrth ar ol gwyrth, prawf ar ol prawf, mai efe oedd y gwir Fessiah, ond rhoddid yr holl arwyddion mawrion hyn o'r neilldu fel pe na buasai un grym ynddynt. Ac yn awr, yr oedd ganddynt y wyneb i ofyn, fel pe am y waith gyntaf erioed, pwy, a pha beth ydoedd? Ni ofynent y tro hwn am arwydd, ond rhaid oedd iddynt gael rhyw sicrwydd arall; mynent dynu oddiwrtho rywbeth a allasent droi yn gyhuddiad yn ei erbyn. Canfyddai yr Iesu eu dichell, ac wrth edrych yn ol ar yr holl brofion diymwad oedd eisoes yn eu meddiant, gallasai yn ddigon teg beidio gwneyd un sylw o'u siarad, mwy na'u cyfeirio yn ol at ei weithredoedd nerthol. Nid er osgoi min a grym eu gofyniad mewn un modd yr atebodd hwn trwy ofyn gofyniad arall, sef, "Bedydd Ioan, ai o'r nef yr ydoedd, ai o ddynion?" Fel holl gwestiynau yr Arglwydd Iesu, gofyniad i bwrpas ydoedd hwn, yn ei le ac yn ei adeg. Ystyriai yr archoffeiriaid mai yn eu dwylaw hwy yr oedd penderfynu ar honiadau dysgawdwyr a phro-

ffwydi a ddeuent i'r golwg yn mhlith y genedl, gan honi fod ganddynt genadwri oddiwrth Dduw. Gwasgai gofyniad yr Iesu hwy i le cul ryfeddol. Wrth sefyll wyneb yn wyneb â hwy fel barnwyr y cyfryw bethau pwysig, anhawdd oedd iddynt ateb nac osgoi ei ofyniad. Os atebent mai oddiwrth Dduw yr oedd Ioan, "Paham, gan hyny, na chredech ef," fuasai yn disgyn arnynt yn y man; ac os dywedent mai o ddynion yr ydoedd, ofnent dynu arnynt eu hunain anghymeradwyaeth y lluaws, oblegid yr oedd miloedd o'r rhai oeddynt amheus yn nghylch yr Iesu, yn cydnabod fod Ioan yn broffwyd, a cheir iddynt ateb na wyddent o ba le yr oedd Ioan Fedyddiwr a'i fedydd—rhoddasant yr Iesu ar y tir uchaf yn y man, a gwrthodai ar dir teg ateb eu gofyniad.

Yn dylyn hyn yn ebrwydd, feddyliem, y mae traddodiad dameg y Ddau Fab a dameg y Llafurwyr Drygionus. Gallem feddwl mai wrth y bobl gyffredin y llefarai yr Iesu y ddameg olaf, cydwybod naturiol y rhai a atebent yn ddioed i'w ofyniad, "Efe a ddyfetha yn llwyr y dynion drwg hyny, ac a esyd y winllan i ereill." Wrth glywed y ddedfryd drom, gallwn feddwl i fath o ebychiad, "Na atto Duw" gael ei wasgu oddiwrth y blaenoriaid, oblegid yr oeddynt yn ddigon craffus i ganfod mai atynt hwy yr oedd cyfeiriad y ddameg.

Ar ddiwedd y dydd hwn eto gadawodd yr Arglwydd Iesu a'i ddysgyblion y ddinas i dreulio y nos ar fynydd yr Olewydd, yn ngardd Gethsemane, y mae yn bur debygol. Dydd Mercher ymddangosodd drachefn yn foreu yn y deml, a rhyfedd gymaint o ymadroddion gwerthfawrocach na'r aur pur a melusach na'r diliau

mel, a lifeirient dros ei wefusau y diwrnod hwn. Nid oedd ei holl elynion, er maint eu medrusrwydd, wedi llwyddo eto i'w ddarostwng yn gwbl yn syniadau y bobl. Gan hyny wele y Phariseaid, y Saduceaid, a'r Herodianiaid, er maint eu gelyniaeth tuag at eu gilydd, yn cyduno mewn brad yn erbyn ei fywyd, ac yn dewis y dynion, y siaradwyr goreu a feddent, i geisio ei rwydo yn ei ymadrodd. Un o'r Herodianiaid a ofynai, "Ai cyfreithlawn rhoddi teyrnged i Cæsar, ai nid yw?" Pe dywedasai mai cyfreithlawn, buasent yn y man yn ei gyhuddo o flaen y bobl ei fod yn erbyn ei genedl ei hun, ac yn pleidio y Rhufeinwyr gorthrymus, trethi y rhai a delid i'r publicanod gyda'r anfoddlonrwydd mwyaf. O'r ochr arall, pe dywedasai nad oedd yn gyfreithlawn, buasent ar unwaith yn ei gyhuddo o flaen Pilat o wrthwynebu y llywodraeth wladol. Yn lle rhoddi atebiad, archodd iddynt ddangos iddo geiniog, sef bathodyn Rhufeinig o werth pymtheg sent, a swm y dreth bersonol (*poll tax*) a godai yr Ymerawdwr ar bob un o honynt fel ei ddeiliaid ef. "Eiddo pwy yw y ddelw hon a'r argraff?" gofynai. "Eiddo Cæsar," oedd yr ateb parod. Yna, meddai yr Iesu, "Telwch chwithau yr eiddo Cæsar i Cæsar, a'r eiddo Duw i Dduw." Gan eich bod o dan lywodraeth Cæsar, telwch y dreth ddyledus iddo yn ei arian ei hun, a thelwch y dreth ddyledus at wasanaeth Duw yn yr arian sydd dderbyniol yn ei deml. Yr oedd yma awgrymiad pe buasent wedi glynu yn ffyddlon i lywodraeth Duw fel brenin Israel, na buasai un milwr Rhufeinig yn troedio y tir sanctaidd, na llywodraethwr Rhufeinig yn eistedd yn llys barn eu prif ddinas. Rhyfeddol mor awdurdodol y trafodai yr Arglwydd

Iesu ei boenydwyr hyn. Gorfodai hwy i wneyd y cyfan, i ddod a'r geiniog a'i dal iddo ef i edrych arni, a chyfaddef eu bod o dan lywodraeth Cæsar. Da oedd ganddynt gael lle i gilio o'r golwg mewn gwarth o wydd y miloedd edrychwyr.

Yn ebrwydd wele y Saduceaid yn dod yn mlaen i roddi cais arno. Yr oeddynt hwy, fel mae yn hysbys, yn gwadu adgyfodiad y meirw, a dygent yn mlaen anhawsder tybiedig yn dal perthynas â'r athrawiaeth hono. Yr oedd saith o frodyr, meddynt (ystori bur amheus, bid sicr), wedi priodi yr un wraig, y naill ar ol y llall, a'r oll wedi meirw yn ddiblant; gan ba un o honynt y byddai hawl iddi yn adgyfodiad y meirw? Rhoddodd yr Iesu iddynt hwythau wers bwysig a llem iawn, gan egluro a phrofi fod adgyfodiad y meirw i fod, serch eu bod hwy yn dewis ei wadu. Wrth weled y Saduceaid yn gorfod cilio, a chyn i'r Iesu gael bron amser i gymeryd ei anadl, nesaodd y Phariseaid ato i wneyd eu hymosodiad. Daeth un o honynt, yr hwn oedd gyfreithiwr, yn mlaen, a gofynodd, "Pa un ydyw y gorchymyn mawr yn y gyfraith?" Ymddengys y dyn hwn fel un yn cael ei wthio yn mlaen gan ei sect i demtio a phrofi yr Iesu. Nid ydym yn barnu fod y dyn ei hun yn un cas, a braidd na feddyliem wrth ateb yr Iesu, "nid wyt ti bell oddiwrth deyrnas Dduw," ei fod yn chwenych gwybod y gwirionedd o leiaf, os nad hefyd ei wneuthur. Amcan y gofyniad efallai oedd dysgwyl i'r Iesu enwi un gorchymyn neillduol, a thrwy hyny daflu iselhad ar y lleill, eithr rhoddodd yr Iesu derfyn buan ar y mater, trwy roddi mewn ychydig eiriau swm a sylwedd yr holl ddeddf, sef cariad at Dduw ac at ei gymydog. Rhyfeddai y

cyfreithiwr wrth ei atebiad cymwys, prydferth, a chydnabyddodd ar unwaith fod hyn yn well nag aberth na phoeth-offrwm, yr hyn a barodd i'r Iesu ddweyd wrtho mewn ffordd o anogaeth, nad ydoedd bell oddiwrth deyrnas Dduw. Gobeithiwn iddo yn wir ei chyraedd, oblegid y mae dod mor agos at deyrnas Dduw a syrthio yn fyr, y sefyllfa fwyaf arswydlawn y gall dyn fod ynddi.

Cyn i'w elynion allu ail ymfyddino, wedi y dymchweliad hwn, cynygiodd yr Iesu ofyniad iddynt hwythau, "Beth dybiwch am Grist? mab i bwy ydyw?" "Mab Dafydd," oedd yr ateb parod. Yna, meddai yr Iesu, gan gyfeirio at Salm 110: 1, "Paham y mae Dafydd, gan hyny, yn ei alw ef yn Arglwydd, os ydyw efe yn fab iddo?" Gall plant yr Ysgol Sabbothol ateb y gofyniad yn awr, eithr methasant hwy, ac nid oedd ganddynt ond gostwng pen mewn cywilydd. Cofier hefyd mai nid dynion cyffredin na chanolig o ran galluoedd na dysg oedd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Dengys yr holl hanes eu bod yn wyr craffus, cyfrwys a hirben i'r eithaf. Cawn eu bod yn drech na Pontius Pilat, er ei fod yn ddyn o addysg, ac yn yr awdurdod uchaf yn y wlad; trwy eu dichell a'u cyfrwysdra, gorfodent ef i wneyd fel y mynent bron yn mhob peth. Ond pan ymosodent ar Iesu, trechai hwy bob cynyg a roddent arno, er eu bod wedi eu hysbrydoli gan alluoedd anweledig llywodraeth yr awr. Y mae edrych ar yr Iesu yn eu trafod mor esmwyth a diymdrech wedi peri i lawer un fod yn falch o hono; nid rhyfedd fod hyd yn nod Saul o Tarsus, y mwyaf uchelfrydig o ddynion o ran ansawdd ei ysbryd, megys yn curo ei ddwylaw mewn brwdfrydedd, ac yn ym-

ffrostio hyd yn nod yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist. Ond yr hyn a gorona y cyfan a wna yr Iesu anwyl ydyw, ei fod yn ei holl fawredd, yn addfwyn a gostyngedig o galon, mor hawdd i'r gwan nesâu ato.

Wedi dystewi ei boenydwyr unwaith yn rhagor, trodd at y torfeydd, gan eu rhybuddio i ochelyd cyfeiliornadau peryglus y dynion drygionus hyny, ac aeth yn mlaen i ddynoethi eu rhagrith a'u dichellion, a chyhoeddodd y gwaeau mwyaf arswydlawn uwch eu penau, gan ddybenu gydá galarnad i ddinas Jerusalem, ceryg heolydd yr hon oeddynt wedi eu hystaenio â gwaed proffwydi yr Arglwydd. Ymddengys i'r ymadroddion hyn, yn nghyd a llawer eraill a draddodwyd ganddo yn ystod y dydd, ddidwyllo y torfeydd parth ei fwriad i osod i fyny freniniaeth dymorol, a gwneyd Jerusalem eto yn ogoniant yr holl ddaear, a'r genedl Iuddewig yn frenines y gwledydd. Buasent yn dysgwyl, yn gwrando, ac yn llygadu am ryw arwydd yn y cyfeiriad hwn o ddiwrnod i ddiwrnod; ond deallasant drwy yr ymadroddion hyn nad oedd efe yn bwriadu cyflawni yr hyn y dysgwyliai y lluaws o honynt hwy yn bryderus iddo wneyd, a chan hyny dechreuasant deimlo yn siomedig. Mae yn wir fod lluaws yn penderfynu glynu wrtho, deued a ddelai, ond gyda chorff y bobl, gallem feddwl i'w brwdfrydedd bron oeri yn llwyr yr adeg hon, ac o hyny yn mlaen dechreuai y teimlad cyhoeddus redeg yn ei erbyn.

Yr oedd yr Iesu y pryd hwn yn nghyntedd y gwragedd yn y deml, y man pellaf i mewn y bu erioed, mae'n debyg, oblegid ni oddefid i neb na byddai yn arwain aberth at yr allor, fyned yn mhellach na hyn. Ar un ochr i'r cyntedd hwn yr oedd tair-ar-

ddeg o gistiau mawrion, a lleoedd yn y cauad i ollwng arian i mewn iddynt. Gosodasid hwy yno er cyfleusdra i'r addolwyr fwrw eu rhoddion i mewn tuag at gynal y gwasanaeth crefyddol yn y deml, yr hwn oedd yn dra chostfawr, gan fod cynifer o swyddogion, y naill uwchlaw y llall, yn dal perthynas â'r sefydliad. Gwneid y draul i fyny yn benaf yr adeg hon trwy roddion gwirfoddol, ac o'r drysorfa hon hefyd y derbyniai y tlodion eu cymorth. Eisteddai yr Iesu ar gyfer y drysorfa, gan gadw llygad craffus ar y cyfranwyr. Dylifai yr arian i mewn yn ffrwd gref, dybygem; cyfranai cyfoethogion yn helaeth o'u harian a'u haur, ond gwnaent gymaint a allent o ymddangosiad o'u rhoddion, fel y gwelid hwy gan ddynion. Yn y cyfamser, daeth gwraig weddw dlawd yn mlaen yn ddystaw a gwylaidd, gan ollwng i mewn i un o'r cistiau ddwy hatling—bathodyn copr bychan, gwerth y drydedd ran o cent—ac ymgiliodd o'r golwg yn gyflym i fysg y dorf. Buasai yn fwy priodol i'r wraig hon fod yn dderbynydd o'r drysorfa nag yn gyfranydd iddi, oblegid mae yn ddigon tebyg, yn ol gwedd yr hanes, nad oedd nemawr o rai tlotach yn y ddinas. Ond profai ei dernyn copr bychan fod yno galon gynes tuag at Dduw a'i achos yn mynwes y weddw dlawd, ond gwir grefyddol hon. Dywed yr Iesu iddi roddi mwy na'r holl gyfoethogion; nid mwy na'r mwyaf, ond mwy na hwynt oll. Ffrwyth iddynt eu hunain oedd eu rhoddion hwy, eithr mynai hi na byddai neb ond ei Duw yn canfod. Cymerodd yr Arglwydd Iesu achlysur oddiwrth hyn eto i roddi darlith werthfawr i'w wrandawyr.

Tra yr elai hyn yn mlaen yn nghyntedd y gwrag-

edd, daeth Groegiaid at Phylip, yr hwn ar y pryd oedd yn nghyntedd y cenedloedd, feddyliem, gan ddweyd yn barchus wrtho, y dymunent weled yr Iesu. Pwy oedd y gwyr hyn sydd ansicr—pa un ai Iuddewon o ddinasoedd Asia Leiaf, proselytiaid i'r grefydd Iuddewig o fysg y Groegiaid, neu ynte Roegiaid paganaidd wedi dyfod a'u rhoddion, fel yr arferid yn fynych, i'r Duw oedd yn preswylio y deml. Nis gellir sicrhau cywirdeb yr un o'r golygiadau hyn, ond gwell genym ni y syniad olaf. Pa un bynag, ymddengys iddynt gael eu dymuniad, ac iddynt hwy, mae'n debyg, y traddododd yr Arglwydd Iesu yr ymadroddion sydd yn dylyn. Yn yr olwg ar y dyeithriaid defosiynol hyn, fel blaenffrwyth cynahauaf mawr cenedloedd y ddaear, ag oeddynt yn fuan i gael eu tynu ato wrth y miloedd, cynhyrfwyd ei enaid sanctaidd. Ond rhaid oedd i'r gronyn gwenith syrthio i'r ddaear a marw cyn y byddai yn bosibl i hyn gymeryd lle. Yna cymerodd cyfnewidiad cyflym le ar ansawdd ysbryd yr Iesu, a llefai, "Yn awr y cynyrfwyd fy enaid: a pha beth a ddywedaf? O Dad, gwared fi allan o'r awr hon: eithr o herwydd hyn y daethum i'r awr hon." Yr oedd ei natur ddynol megys yn cilio yn ol mewn arswyd wrth syllu ar yr olygfa o'i flaen, fel pe buasai dadl yn cyfodi yn ei enaid a allai efe ddal o dan bwys y dyoddefaint. Ond meddai, "O Dad, gogonedda dy enw;" ac ar hyny daeth llef o'r nef, "Mi a'i gogoneddais, ac a'i gogoneddaf drachefn."

## PENNOD XXII.

*Dinystr Jerusalem a dydd y farn ddiweddaf—Judas Iscariot— Y swper yn yr oruwch-ystafell—Gardd Gethsemane—Y gweddiau a'r chwys gwaedlyd—Y cusan bradychol—Y dal a'r rhwymo.*

Y pryd hwn gadawodd yr Iesu y deml am y waith olaf, os na bu yno yn garcharor yn yr ystafell Gazith, ac yn derbyn ei ddedfryd gan y Sanhedrim. Aeth allan gyda ei ddysgyblion i fynydd yr Olewydd i dreulio y nos. Gadawsai y gogoniant y llanerch hon amryw weithiau o'r blaen o herwydd pechodau y genedl, ond yn awr ymadawodd byth i ddychwelyd. Wedi i rai o'r dysgyblion sylwi ar ardderchawgrwydd adeiladau y deml, pan yn disgyn ar hyd ei grisiau, efe a ddywedodd fod yr amser yn agos pan na byddai maen ar faen wedi eu gadael ar y llanerch; ac wrth ddringo i fyny bryn yr Olewydd, traethai wrthynt am yr arwyddion o'i ddyfodiad i ddinystrio Jerusalem, ac i dori i fyny a symud o'r ffordd yr oruchwyliaeth Iuddewig, yr hon oedd yn awr wedi myned yn ysgerbwd difywyd. Yna mae yn traws-symud ei ymadroddion oddiar olygfeydd arswydus dinystr y deml, y ddinas a'r genedl, at olygfeydd mwy mawreddog a chyffrous dydd y farn gyffredinol; ac er eglurhad a grymusder, adroddodd ddamegion y deng morwyn a'r talentau, ac yna tynodd ddarlun rhyfeddol o'r farn ddiweddaf. Yr oedd y dysgyblion, druain, yn awyddus am wybod yr amser, ond rhybuddiai hwy na chai

neb wybod y dirgelwch hwn. Daliai megys darlun yn ei law, ddydd cyfrif y genedl Iuddewig, a dydd cyfrif olaf holl blant dynion, a siaradai mewn iaith broffwydol; ond mae yn anhawdd, os nad yn anmhosibl, gwahaniaethu rhwng y ddau, gan fod y naill a'r llall yn y dyfodol. Yr hyn yr amcanai yr Iesu ei argraffu yn mlaenaf ar feddyliau ei ddysgyblion ydoedd, fod dinystr Jerusalem yn sicr o ganlyn yn gyflym ei gwrthodiad o'r Messiah. Ond fel y tynai at ddiwedd ei anerchiad, gadawai heibio y ddinas a'i dinystr, gan ddarlunio barn y dydd olaf.

Gallesid meddwl y buasai holl ddybenion barn gyffredinol yn cael eu hateb, trwy fod pob dyn ar ei ben ei hun yn myned o flaen ei farnwr wrth fyned trwodd ar derfyn ei oes o'r naill fyd i'r llall, a'i gyflwr yn cael ei sefydlu byth. Ond cawn y sicrwydd mwyaf yn Ngair Duw fod "diwrnod wedi ei osod yn yr hwn y barna efe y byd mewn cyfiawnder, trwy y Gwr a ordeiniodd efe." Ac ymddengys mai desgrifiad o'r dydd hwnw ydyw y rhan olaf o Matthew 25. Mai nid dameg ydyw sydd amlwg iawn, oblegid mae y traws-symudiad yn y 31ain adnod o'r modd damegol i'r modd hanesyddol o ymadroddi, yn rhy eglur i'r darllenydd fyned heibio iddo heb ei ganfod. Mae Mab y dyn yn cymeryd lle y priodfab, a'r pendefig yn berson gwirioneddol, ac nid ffigyrol, ac yn yr adnodau 31—34, darlunir yr hyn sydd mewn gwirionedd i gymeryd lle pan y daw y dydd olaf o hanes ein byd. Ond a ydyw yr ymddyddanion rhwng y barnwr a'r pleidiau i gymeryd lle yn weithredol fel y darlunir hwy? Ni fynem sicrhau hyny, ac nid ydyw yn angenrheidiol i ysbryd yr adnodau, fod geiriau yn cael eu pasio rhwng

y pleidiau. Mae yn amlwg nad oes yn yr Ysgrythyrau ymadroddion mwy difrifol na'r ychydig adnodau hyn. Traddodwyd hwy wrth y dysgyblion ar ael mynydd yr Olewydd, yn yr awyr agored, ac o dan lewyrch auraidd y lloer, a chyda hwy terfyna hanes llafur yr Iesu ddydd Mercher, fel yr ydym ni yn deall.

Treuliwyd dydd Iau gan yr Iesu gyda ei ddysgyblion i barotoi eu meddyliau a'u calonau erbyn tranoeth. Yr oedd Judas Iscariot, o dan symbyliad teimladau dialgar o herwydd y sen a dderbyniasai yn nhy Simon, wedi penderfynu bradychu yr Iesu i ddwylaw ei elynion, ac yr oedd yn prysur gario ei fwriadau yn mlaen mewn trafodaeth a'r archoffeiriaid. Yr oedd y siom a gawsai am ddyrnaid o arian, yn nghyd a gwaith yr Iesu yn codi cwr y llen i ddangos ei wir gymeriad, wedi ei greuloni i'r eithaf, eto daliai wyneb teg i'w athraw a'i hen gymdeithion, a daeth i'w mysg yn yr hwyr i fwyta swper y Pasg, fel pe na buasai dim allan o le. Teimlwn yn fwy digofus wrtho am hyn na dim; dyma y pechod atgasaf a gyflawnir gan ddynoliaeth lygredig, sef cario gwên ar y wyneb, a malais yn y galon. Mae wedi peri dyryswch i lawer meddwl paham y cymerodd yr Arglwydd Iesu ef erioed i'w gymdeithas, ac yntau yn gwybod pob peth, yn adnabod calon pob dyn. Er i Judas droi allan yn fradwr, yn ddyn drwg i'r eithaf, yr ydym yn rhwym o synied ei fod, pan y dewiswyd ef, yn gymwys ar yr un tir a'r un-ar-ddeg eraill, ac y gwnaethai mor ddysglaer apostol a'r goreu o honynt. Ond darfu iddo, yn dra gwahanol iddynt hwy, aros yn ei gyflwr natur, gydag egwyddor gref o gybydd-dod yn llechu yn ei galon. Yr

oedd ganddo alluoedd ysblenydd fel dyn, y mae yn eglur, a cham-ddefnyddio y rhai hyn fu yn ddinystr iddo. Ni bu ef erioed mewn cydnawsedd teimlad a'i Athraw, a'i gyd-ddysgyblion syml a diddichell. Pan y llenwid hwy â chariad at eu Harglwydd a'u Hathraw, yr oedd efe yn llawn o egwyddorion y byd yn eu ffurf waethaf. Tra y tynid hwy fwy-fwy i ysbryd yr yr Iesu, cludid ef bellach, bellach o ran ei galon a'i serch oddiwrtho. Yr oedd eu sancteiddrwydd hwy yn barhaus ar gynydd, a'i ddrygnaws yntau yn cryfhau. Ymunasai â'r coleg Apostolaidd, ac â'r Athraw mawr, gyda dysgwyliad dirgelaidd am ddyrchafiad, ac elw hefyd, efallai, yn y deyrnas y tybiai ef oedd ar gael ei gosod i fyny gan y Messiah. Ond er ys amryw fisoedd bellach yr oedd y gobaith hwn yn dechreu cael ei gymylu, trwy fod yr Iesu yn mynych son am y gwaradwydd, y dyoddefiadau a'r angau oedd yn ei aros; ac yn y dyddiau olaf hyn yr oedd yr awyrgylch megys yn rhuddo yn gyflym am dymestl, yn ol pob ymddangosiad.

Tra yr oedd Judas yn trafod y pethau hyn yn ei feddwl, aeth saethau i mewn i'w galon mewn ffurf o ddrychfeddwl mai ofer oedd gwasanaethu y fath Feistr yn hwy, ac mai goreu po gyntaf i'w adael, cyn i'r ystorm ymdori ac ymdywallt arnynt; a chan ei fod wedi treulio cymaint a thair blynedd o amser yn ofer ac am ddim, onid oedd yn deg iddo wneyd ychydig arian iddo ei hun wrth droi ei gefn ar y cwmni? Gwyddai Judas fod y Phariseaid a blaenoriaid y genedl a'u calonau yn berwi o ddigofaint at yr Iesu o herwydd iddo fynych ddatguddio eu twyll, a rhybuddio y werin-bobl drosodd a throsodd yn y lleoedd mwy-

Nid oedd amser wedi ei benodi, gallem feddwl, ond y cyfle cyntaf y byddai yr Iesu ar ei ben ei hun, heb ond ei ddysgyblion yn agos i'w amddiffyn. Dywedir mewn hanesyddiaeth am Herod Fawr, ei fod yn hynod graffus, ac yn sylwi yn fanwl yn mha gyfeiriad y byddai y gwynt yn chwythu tua Rhufain. Pa un bynag o'r pleidiau a ymgeisient am yr orsedd fyddai yn debyg o gario y dydd, a hono fyddai ei ddewis ef bob amser; ac os yn anffodus y dygwyddai weithiau fod yr ochr chwith, troai ar ei sawdl gyda'r deheurwydd mwyaf. Y mae plant y byd hwn yn gall yn eu cenedlaeth, ac un o honynt hwy oedd Judas Iscariot. Canfyddai arwyddion lled sicr fod achos yr Iesu yn myned i lawr, ac ystyriai fod yn bryd iddo ef newid ei ochr at y blaid fyddai yn debyg o gario y dydd yn y diwedd. Wedi gwneyd cytundeb fel hyn â'r blaenoriaid, tybiai, os syrthio a wnai ei Athraw, y byddai ef yr ochr dde. Ymddengys fod y syniad am fawredd a gallu yr Iesu wedi ei wthio gan y diafol o'i feddwl ar y pryd. Eto y mae yn bosibl ei fod yn rhyw ddychymygu, os byddai i'r Iesu er pob peth fod yn fuddugoliaethus yn y diwedd, y gallai ef droi ar ei sawdl eilwaith, ac mai yr hyn a amcanai ydoedd gorfodi ei Feistr i ddod allan yn mawredd ei nerth yn erbyn ei elynion. Ond yr oedd yma eto anghysondeb i'r pen; eithr beth ellir ddysgwyl oddiwrth ddyn wedi myned i'r fath eithafion? Gorchwyl poenus i'r meddwl ydyw syllu yn ngwyneb y fath ddyn a Judas Iscariot.

Mae yn eglur fod yr Arglwydd Iesu wedi treulio y rhan flaenaf o ddydd Iau yn nghymydogaeth Bethania, gyda ei ddysgyblion, a thua chanol y prydnawn an-

fonodd Pedr ac Ioan i'r ddinas i barotoi at swper y Pasg. Yr oedd cryn waith i gael pob peth yn barod i dri-ar-ddeg o bersonau; ond wedi dod i'r ddinas, yn ol cyfarwyddyd yr Iesu, cawsant ystafell eang, gyfleus, yn gwbl barod—y bwrdd a'r eisteddleoedd wedi eu trefnu, pob peth yn ei le ond defnyddiau y swper, dybygid. Beth a wnaeth i'r Iesu gymeryd y llwybr hwn i gyfarwyddo ei ddau ddysgybl sydd ansicr. Efallai ei fod am gadw y fan yn ddirgel, rhag y buasai Judas yn arwain y swyddogion i'w ddal ef a'i ddysgyblion yn yr ystafell, yr hyn fuasai rai oriau yn rhy fuan, ac yn ei atal i fyned i Gethsemane, lle yr oedd ganddo orchwyl pwysig iawn i'w gyflawni. Wedi i'r adeg ddod i fyny, aeth efe a'r gweddill o'i ddysgyblion i'r ddinas, ac y mae Judas, wedi gwneyd y parotoadau angenrheidiol gyda'r penaethiaid, yn ymuno â hwy. Canfyddai y dysgyblion yn amlwg oddiwrth wedd ac ymddyddanion eu Hathraw mawr fod rhyw beth hynod bwysig ar gymeryd lle, ac yn fawr eu bryd am y deyrnas, hwy a ymrysonent, a hyny, gallwn feddwl, yn ngwyddfod eu Harglwydd, pwy a fyddai fwyaf ynddi. Pan y delai ymwelwyr i dy dyeithr, yr oedd yn arferiad i wr y ty orchymyn i'w weision olchi eu traed. Yr oedd perchen yr oruwchystafell wedi parotoi dwfr a thywel at hyn o wasanaeth, ond mae yn bosibl ei fod ef a'i deulu yn brysur yn parotoi at fwyta y pasg eu hunain mewn ystafell arall, ac felly yn anghyfleus i gyflawni y gwasanaeth hwn i'w westeiwyr. Nid traddodiad, fel golchi dwylaw a fyddai eisoes yn lân cyn bwyta, oedd golchi y traed; ond yr oedd yn angenrheidiol er glanweithdra a chysur personol i rai wedi cerdded trwy y llwch heb ddim ond sandalau am eu traed.

Er cael golwg glir ar sefyllfa pethau yn yr ystafell, mae yn angenrheidiol hysbysu y darllenydd ieuanc fod pwys mawr yn cael ei roddi yn y gwledydd dwyreiniol ar y fan yr eisteddai dyn wrth y bwrdd, o'r lle isaf ar hyd y gwahanol eisteddleoedd hyd y lle uchaf. Gwel Luc xiv. 10. Fel hyn wrth daflu golwg dros fyrddiad o wahoddedigion gellid canfod y gradd o barch a delid i bob un wrth sylwi pa le wrth y bwrdd y byddai yn eistedd. Tybiwn fod y teimlad hwn yn rhedeg yn uchel yn mysg y dysgyblion yr hwyr hwn—pob un am y lle uchaf, o dan yr ystyriaeth, efallai, mai fel yr eisteddent wrth y bwrdd y byddent yn eistedd yn y deyrnas a ddysgwylient yn bryderus. Yr oedd Ioan beth bynag, wedi llwyddo i gael y lle nesaf i'r Brenin. Ond pa un o'r deuddeg a gymerai arno y gwasanaeth gwir angenrheidiol o olchi traed ei gyd-ddysgyblion? Nid oedd un o honynt yn foddlon i gydnabod ei hunan yn wasanaethwr, pob un yn sefyll yn dyn ar ei anrhydedd ei hun, o dan yr ystyriaeth y buasai hyny yn ddarostyngiad mawr iddo. Ar ol eistedd, a chyn dechreu bwyta, yr Iesu yn gwybod beth fuasai ar droed yn eu mysg, ac er mwyn tori hyn i lawr yn effeithiol, a ymgymerodd a rhoddi gwers iddynt mewn gostyngeiddrwydd, nad anghofient hi byth. Cododd oddiwrth y bwrdd, tywalltodd ddwfr i lestr, a chan gymeryd tywel wrth ei wregys, aeth oddi amgylch y bwrdd a golchodd draed ei ddeuddeg dysgybl. Yr oedd hyn yn gyfleus yn ol yr ystum oedd arnynt hwy yn lledorwedd wrth y bwrdd. Dywedai wrthynt, os oedd Ef, yr hwn oedd yn Arglwydd ac yn Athraw arnynt oll, yn gwneyd hyn, y dylasent hwythau fod yn ddigon addfwyn a gostyngedig i olchi traed eu gilydd. Swydd

oedd hon, mae'n wir, a gyflawnid gan y gwas caeth iselaf, nad oedd neb yn prisio nemawr am ei deimladau. Pan ystyriom fod pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear yn llaw yr Iesu, gwelwn fod ei ymostyngiad tu hwnt i bob amgyffred; ond yr oedd ei gariad yn llifeirio dros y cwbl, fel os gallai ryw ffordd eu dysgu a'u dwyn i'w lle, yr oedd yn foddlon ymostwng mor isel a hyn er cyraedd ei amcan mawr.

Wedi ail eistedd wrth y bwrdd, dywedai yr Iesu yn ngeiriau y Salmydd, "Yr hwn sydd yn bwyta bara gyda mi, a gododd ei sawdl yn *fy* erbyn." Yn ol Efengylwr arall, "Un o honoch am bradycha i." Gofynai y naill ar ol y llall o'r dysgyblion mewn arswyd a braw, "Ai myfi yw, Arglwydd?" "Ai myfi?" "Ai myfi?" a glywid mewn llais brawychus o un-ar-ddeg o eneuau bron ar unwaith. Gofynodd Judas hefyd, a derbyniodd ateb mai efe oedd y dyn; ond mae yn eglur na ddeallodd y dysgyblion ereill y gofyniad na'r atebiad, canys pan ddywedodd yr Iesu yn mhen ychydig wrth yr Iscariot, "Hyn yr wyt yn ei wneuthur gwna ar frys," nid oeddynt yn deall o gwbl at ba beth y cyfeiriai. Gallesid meddwl y buasai calon y bradwr yn dryllio wrth swn y geiriau, ond yr oedd yn awr wedi myned yn rhy ddiweddar iddynt gael un effaith ddaionus arno. Yr oedd hyd yn nod golchi ei draed bryntion yn ddieffaith i'w ddwyn i deimlo. Yr oedd ei bresenoldeb bellach yn myned yn faich ar ei Arglwydd yr adeg ddifrifol hon, ac ewyllysiai iddo ymadael o fysg y rhai cywir ag oeddynt yn ei garu, ac a gerid gymaint ganddo yntau. Dywedodd yn eglur fod un wrth y bwrdd a bwriad ganddo i'w fradychu i ddwylaw ei elynion, eithr yr oedd yr adeg

mor ddifrifol, a'u parch hwythau gymaint i'w Harglwydd, fel na feiddient ac na fynent ofyn pwy ydoedd. Ond yn fuan aeth Pedr mor anesmwyth o eisiau gwybod, fel yr amneidiodd ar Ioan, yr hwn a eisteddai nesaf at yr Iesu, i gael ganddo ef ofyn. Yr oedd Ioan yn hynod gyfleus i ofyn heb i neb arall allu clywed, gan fod ei ben wrth fynwes yr Iesu, a gofynodd mewn tôn isel, "Arglwydd, pwy yw efe?" Atebodd yr Iesu, efallai yn yr un dull, "Hwnw yw efe, i'r hwn y rhoddaf fi damaid wedi i mi ei wlychu." Mae'n debyg na ddeallodd neb ond Ioan, ac efallai Pedr oddiwrth edrychiad Ioan, oblegid nid oedd dim yn estyniad y tamaid i Judas yn ei nodi ef allan ond i Ioan yn unig; eithr mae yn debyg i Judas ei hun amheu oddiwrth y siarad dystaw rhwng Ioan a'i Feistr ei fod ef wedi ei nodi allan fel y bradwr, a llanwyd ef o ddigofaint. Y mae yr Iesu yn yr awr ddifrifol hon yn awyddus i gysuro ei ddysgyblion ffyddlawn ar gyfer yr amgylchiadau cyfyng oeddynt bron yn ymyl, ond ni ddewisai wneyd hyny yn mhresenoldeb Judas, a chan hyny gorchymynodd iddo ymadael trwy ddywedyd wrtho, "Hyn wyt ar wneuthur, gwna ar frys." Ni ddeallodd y dysgyblion eto oddieithr Ioan, ac efallai Pedr, beth a feddyliai wrth y gair. Tybient hwy yn symlrwydd diniwed eu calonau, mai gorchymyn iddo fyned i brynu rhywbeth yn rhagor at y wledd a feddyliai yr Iesu, gan mai Judas oedd y trysorydd ar yr ychydig arian a berthynai iddynt oll. Ar hyn cododd Judas oddiwrth y bwrdd, a gadawodd yr ystafell. Rhaid ei fod wedi deall oddiwrth ymadroddion yr Iesu pa le y bwriadai dreulio y nos, wedi darfod y swper, neu ynte ddarfod iddo wylio yn llechwraidd

o dan gysgodau y nos o amgylch y ty, hyd nes y delent allan, ac yna dilyn ar eu lledol i weled pa le yr oeddynt yn myned, i ddwyn y swyddogion allan i ddal yr Iesu.

Wedi ymadawiad y bradwr rhoddodd orchymyn newydd i'w ddysgyblion—nid newydd ychwaith, ond mynai Ef roddi bywyd newydd ynddo, fel y byddai i bawb yn mhob man gael eu hadnabod trwy eu hufudd-dod llwyr iddo. Ar gariad tragwyddol, anfeidrol, digyfnewid yr oedd ei deyrnas i gael ei selio, a mynai Ef i'r egwyddor hon gael ei chadw bob amser yn weithgar ynddi. Yna aeth yn mlaen i sefydlu y Swper Sanctaidd i fod yn goffadwriaeth barhaus o'i ddyoddefiadau a'i angau yn ei eglwys. Y siarad a'r syniad cyffredin am y Pasg ydyw iddo gael ei ddiddymu i roddi lle i sacrament Swper yr Arglwydd, ond mwy priodol, efallai, fyddai dywedyd iddo gael ei sylweddoli, ei gyflawni yn y Swper, ei fod yn symudiad yn mlaen o'r blodeuyn i'r ffrwyth. "Ni ddaethym i dori, ond i gyflawni." Derbyn eu cyflawniad yr oedd yr holl gysgodau ynddo ef. Crist yw ein Pasg ni. Daeth yn mlaen i aberthu ei hun ar yr adeg y byddid yn arferol o ddwyn yr oen i'w aberthu, i roddi atalfa byth ar dywallt eu gwaed hwy. Ca yr wyn bellach chwareu ar hyd y bryniau yn gwbl ddiberygl oddiwrth gyllell y Lefiad, ac wrth edrych arnynt yn difyru eu hunain, gall pechadur tlawd gymeryd yr awgrymiad ei fod yntau hefyd i gael dod yn rhydd. Dywedai yr Iesu wrth ei ddysgyblion, "Mi a chwenychais yn fawr fwyta y Pasg gyda chwi cyn dyoddef o honof." Y mae hynodrwydd dyeithr yn yr ymadrodd hwn. Paham y chwenychai weled yr awr ag oedd yn ei ddwyn

i lan môr o ddyoddefiadau, na wybu neb am ddim tebyg iddynt ond efe ei hunan? Yr oedd ei gariad cryf at bechadur yn peri iddo hiraethu am yr adeg i symud y condemniad oddi arno, i gymeryd i fyny yr ysgrifenlaw oedd yn ei erbyn, a thalu ei ddyled. Edrychai yn mlaen at sefydliad y Sacrament ag oedd i gael ei arfer gyda hyfrydwch yn yr eglwys, gyda dymuniad angerddol. "Mi a chwenychais yn fawr." Rhydd hyn ryw bwysfawrogrwydd dirfawr ar yr ordinhad sydd i fod yn gof o'i gariad hyd ddiwedd amser. Dywedai yr Iesu drachefn, Mat. 26:29, "Nid yfaf o hyn allan o ffrwyth hwn y winwydden hyd y dydd hwnw pan yr yfaf ef yn newydd gyda chwi yn nheyrnas fy Nhad." Beth a feddyliai wrth yr ymadrodd rhyfedd hwn? Ai yn unig hysbysu iddynt mai dyma y pasg olaf yr oedd ef a hwythau i gyd-eistedd wrtho, hyd yr adeg y byddent hwy gydag ef yn mwynhau y sylwedd o hono yn nheyrnas Dduw? Prin yr ydym yn meddwl y goddef y geiriau eu cyffredinoli fel yna; hawddach genym gredu fod eu hystyr oruchel yn ddirgelwch, ac yn cyfeirio at ddyrchafiad uwch eto i'r ordinhad hon yn y byd sydd yn mlaen. Edrych yn ol i'r Aifft a'r waredigaeth fawr oddi yno yr oedd y Pasg, ac edrych yn ol i Gethsemane a Chalfaria y mae y Swper Sanctaidd, ond mae yma olwg yn mlaen dros derfyn amser at ryw ystyr mwy mawreddig, gan gymeryd golwg ar ryw beth a gymer le, rhyw gymundeb, rhyw Swper Mawr a fydd yn tynu ei elfenau o'r greadigaeth newydd. Y mae swper neithior yr Oen i fod, a gwyn fyd yr hwn a gâ eistedd wrtho; ond pa elfenau fydd ar y bwrdd yn y swper hwnw sydd, ac a fydd yn ddirgelwch i ni yn y byd

15

hwn. Mae yma ddirgelwch, ac ar yr un pryd y mae y geiriau genym, wedi eu llefaru gan yr Iesu ei hun, ac maent fel ei holl ymadroddion ef, yn llawn ystyr. Dywedir mai ystyr gyfrinol, ysbrydol, sydd i'r fath eiriau. Digon gwir, ond bydd y cyflawniad o honynt y peth tebycaf i swper priodas a allasai yr Ysbryd Glan ei ddefnyddio. Cymunrodd anmhrisiadwy wedi ei gwneyd i ni gan yr Iesu y nos y bradychwyd ef ydyw y Swper Sanctaidd. Mae wedi bod yn gyfrwng bendithion ysbrydol i fyrdd myrddiynau o weiniaid, ac yn ffynonell nerth adnewyddol a llawenydd annhraethadwy. Nid rhyfedd fod Paul yn rhybuddio cymunwyr i ofalu am beidio ei dderbyn yn annheilwng. Dyma hefyd yr adeg y traddododd yr Arglwydd Iesu y 13eg a'r 14eg o Ioan, ac ar y diwedd, y weddi hynod a gawn yn Pen. 17. Cyn cychwyn o'r ystafell mae y cwmni yn canu Hymn, yr Halel fawr, fel y'i gelwid, ar ddiwedd Swper y Pasg, sef Salm 115 a 118, meddir. Dyma ganu hymnau mewn addoliad wedi ei gysegru uwchlaw pob amheuaeth. Nid ymchwydd y fynwes mewn llawenydd oedd yma, ond cân addoliadol. Yr oedd yr Iesu a'i ddysgyblion mewn tywydd garw ar y pryd, a diau genym i'r gân hon wneyd ei rhan tuag at ddarostwng ymchwydd y tonau.

Bellach daethant i lawr o'r oruwch ystafell, gan gerdded tuag afon Cedron, yna croesasant y cwm a dringasant i fyny i ardd Gethsemane, ar ael mynydd yr Olewydd, yr hon efallai a berthynai i ryw ddysgybl caredig. Gwyddai yr Iesu yr oll oedd ar ddyfod arno; gwyddai fod tymestl arwach na'r hon a ddisgynodd ar Sodom ar ymdywallt arno, ac nad oedd ond ychydig fynydau nes y byddai yn ei chanol. Er hyny ymddeng-

ys mai gofal am ei ddysgyblion, yn hytrach nag am dano ei hun, oedd uchaf ar ei feddwl. Dywedai yn dirion a thawel wrthynt y byddai iddynt oll ei adael y nos hono, a dianc rai bob ffordd am eu bywydau a'i adael ef ei hunan; hysbysodd Pedr hefyd y byddai iddo yntau ei wadu. Yr oedd rhagwybod hyn yn fantais fawr iddynt pan y delai i ben. Tra yr elai hyn yn mlaen, yr oedd Judas Iscariot yn brysur gydar penaethiaid yn parotoi ac yn trefnu ei fyddin i ddal yr Iesu. Ymddengys i fintai gref gael ei harfogi at y gorchwyl, a gallesid eu canfod yn troi allan o balas yr archoffeiriad a Judas o'u blaen yn bras gerdded yn ddystaw a llechwraidd tua Gethsemane, ac o bosibl yn cuddio eu lampau a'u harfau dan eu gwisgoedd. Bron na chynyrfid ni i waeddi, Ffo, ffo, Iesu mawr, am dy einioes dros fynydd yr Olewydd. Gelli gyraedd dan gysgodau y nos, fel Dafydd gynt, i lanau yr Iorddonen, ac oddi yno i Syria, lle mae lluaws a dderbyniasant gymwynasau mawrion oddiar dy law, ac a deimlant yn gynes tuag atat, a gelli yn ddiogel lechu nes yr el y dymestl drosodd. Ond yr ateb, ni a ddychymygwn, fuasai, Na, na, os ffoaf yn awr, beth ddaw o'm dyweddi? Pwy a dâl ei dyled?

Ond nesawn gyda gwylder difrifol a pharchus tua gardd Gethsemane. Pur debyg mai y llecyn a ddangosir yn awr i deithwyr dan yr un enw ydoedd y lle. Y mae hen olewydd yno yn awr, a myn yr ofergoelus mai yr un prenau ydynt, eithr mae hyny yn dra annhebygol, oblegid torodd Titus Vespasian yr holl goed o gylch y ddinas yn ystod y gwarchae mawr o flaen ei dinystr. Mae yn bossibl y gall y coed presenol fod yn olyniaid uniongyrchol i'r rhai a gysgodent yr Iesu,

canys y mae yr olewydden yn hynod am ei hirhoedledd. Wedi cyraedd at fur neu wrych yr ardd gadawodd yr Iesu wyth o'i ddysgyblion oddi allan, neu efallai yn yr anedd perthynol i'r ardd. Eu harbed yn dirion yr ydoedd rhag gweled o honynt yr olygfa arswydlawn yr oedd efe ei hun i fyned drwyddi. Cymerodd y tri arall, y rhai a gawsent y fraint uchel o weled ei ogoniant ar fynydd y gweddnewidiad, gydag ef o olwg ac o glyw y lleill i gysgodion yr ardd, a dywedodd wrthynt: "Trist iawn yw fy enaid hyd angau; aroswch yma, gwyliwch gyda mi." Gofidiau angau ydyw eithaf y syniad dynol am ddyoddefaint, ond yr oedd rhyw beth annirnadwy fwy na hyn wedi goddiweddyd ein Gwaredwr yn awr. Gwynebodd Stephan, a myrdd ar ei ol, ofidiau angau gyda sirioldeb ar eu gwedd. Dywed Marc, "Efe a ddechreuodd dristâu ac ymofidio yn ddirfawr." Arwydda y gair gwreiddiol iddo gael ei daro yn sydyn gan ofn mawr; nid ofn y groes, mae yn sicr, ond rhyw beth cwbl annirnadwy i un creadur. Yn ei waith yn dod i gyfarfod â gofynion deddf Duw am bechod, yr oedd cwpan chwerwach na marwolaeth yn cael ei hestyn iddo i'w hyfed—rhyw syniad am gyfiawnder a phechod yn cyfarfod eu gilydd, nad all y meddwl creadigol grymusaf a ddaeth o law Duw erioed ei amgyffred. Gadawodd ei dri dysgybl, gan ymneillduo mewn unigedd i gysgodion yr olewydd, ac yno syrthiodd ar ei wyneb ar y ddaear dan bwys ei ing. Dychwelodd at ei dri chyfaill fel pe buasai eu cydymdeimlad hwy yn rhyw beth ganddo yn ei gyfyngder mawr, ond cafod y tri wedi cysgu dan ddylanwad eu tristwch. "Pedr," meddai, "ai cysgu yr wyt, oni allesit wylio

un awr gyda mi?" Y cwbl a ofynai iddynt oedd gwylio un awr gydag ef; nid cadw gwyliadwriaeth rhag i Judas arwain ei elynion i'w ddal yn ddisymwth, dybygem, dim ond cadw yn effro am awr i weled pa fodd y byddai arno. Gwyddai ei fod yn nesau i'r "tywyllwch lle yr ydoedd Duw," a gwyddai yn mlaen llaw y byddai yn gyfyng iawn arno. Mor amlwg mae y gwir ddyn yn dod i'r golwg yma, yr oedd yn dymuno i'w gyfeillion anwylaf weled pa fodd y byddai arno, a buasai eu cydymdeimlad yn rhyw foddlonrwydd i'w feddwl, ond cysgu ddarfu iddynt hwy. Methai aros moment yn llonydd yn yr un man, ac aeth drachefn oddi wrthynt i weddio ar ei Dad, os oedd yn bosibl ar i'r cwpan hwn fyned heibio. Nid y groes a feddylid, mae yn sicr—ni feddyliasai erioed gael osgoi hono—ond yr arswydlawn ddyoddefiadau a'i llethent ar y pryd. Os ydoedd yn bosibl, os gellid prynu dyn, os gellid boddloni cyfiawnder, heb iddo yfed y cwpan hwnw; ond nid oedd yn bosibl, onide aethai y cwpan heibio yn ddiau. Ni roddodd y Tad fwy arno nag oedd pechod dyn yn haeddu. Yr ydoedd efe yn ngafael deddf wedi ei thori, ac nid oedd yn gydweddol â chyfiawnder Duw i lacio dim ar ei gofynion, onide yn ngrym ei anfeidrol gariad at ei anwyl fab efe a wnaethai hyny yn y man. Yr oedd ein banwyl Arglwydd Iesu y pryd hwn mewn ymdrech meddwl cwbl uwchlaw dirnadaeth meddwl crëedig; ni wyddai neb ond y Tad a'r Ysbryd Glan faint ei loesion. Curai ei galon mor ddirfawr, gan ergydio ei waed mor rymus nes rhwygo y llestri a'i cludent trwy ei gorff, a'i wthio allan trwy dyllau y chwys. Buasai yn gorff marw mewn moment o dan

y fath ddyoddefiadau oni buasai ei undeb â'r Duwdod. Teimlai ei ddysgyblion yn ddrwg iawn yn ddiau fod cwsg wedi eu gorchfygu, a theimlwn ninau yn ddrwg drostynt. Efallai y buasai hyny yn arbed anfoniad yr angel i'w nerthu, a buasai dyn yn cael cymaint a hyny o fraint ac anrhydedd. Nid oedd ganddynt ddim i'w ddweyd drostynt eu hunain; yr oedd hyd yn nod Pedr, yr hwn oedd a gair parod bob amser, yn fud gan gywilydd. Ond pan na allent hwy feddwl am un esgus dros eu hymddygiad oeraidd, cymerodd yr Iesu tirion eu lludded yn esgus drostynt yn lle eu beio. "Yr ysbryd yn ddiau sydd barod," meddai, "ond y cnawd sydd wan." Cydnabyddai eu bod yn ceisio gwneyd fel yr oedd efe wedi deisyf ganddynt, eu bod yn meddwl ac yn ceisio cadw yn effro, ond iddynt syrthio i gwsg yn ddiarwybod iddynt eu hunain. Pwy ond yr Iesu a fuasai yn ymddwyn fel hyn? Gwyn fyd nad allem ninau yn ein teuluoedd ac yn ein heglwysi, ac yn mhob man fod yn fwy tebyg iddo. Gallwn dybied oddiwrth eiriau yr efengylwyr fod yr ing mawr wedi ymatal yn ddisymwth, fel y dechreuodd. Dywedir fod angel wedi ei anfon gan y Tad or nef i'w nerthu. Ni wyddom pa gymorth allasai angel roddi iddo, os nad ymgeleddu ychydig arno, trwy sychu ymaith y chwys gwaedlyd, anghysurus oddiar ei gorff. Pe disgynasai defnyn o'r gwpanaid oedd yn llaw yr Iesu arno, credwn y buasai yn ei ysgubo o fodolaeth yn y fan; ond gallwn synied fod golwg ar wyneb glân angel, un o weision ei Dad, newydd ddod o'r nef, yn rhoddi gradd o ysgafnhad i'w natur.

Os oes rhyw un, yn rhywle, ag amheuaeth yn ei

feddwl fod gormod o swn yn cael ei wneyd yn ngylch drwg pechod, deued i ardd Gethsemane a sylled ar Fab Duw yn natur dyn—y person ag y mae holl angylion y nefoedd a phob dyn ag sydd a deall a doethineb ganddo, yn ei addoli—edryched arno yn ei ing a'i chwys gwaedlyd. Byddai ceisio rhoddi cyfrif am ddyoddefaint yr Iesu ryw ffordd heblaw o herwydd pechod dyn yn taflu amheuaeth ar gyfiawnder ac uniondeb llywodraeth Duw. Mae yr oll a geir am yr Iesu yn ei hanes yn argraffu ar y galon ei fod yn berffaith mewn cyfiawnder a sancteiddrwydd ac iddo rodio felly bob cam y bu yn ein byd; a buasai goddef i un felly gael ei gamdrin, yn taflu anfri ar, ac yn dangos gwendid yn llywodraeth Duw, heb ryw eglurhad clir ar y mater. Eithr y mae geiriau y proffwyd yn ddigon i foddloni pob meddwl goleuedig: "Efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni." Sylwa un awdwr parchus fel hyn ar ddyoddefiadau yr Iesu: "Goddefer i ni ofyn yn wylaidd beth oedd yn cynyrfu ei natur mor ddwfn? Beth oedd y cwpan y dymunai mor daer ar ei Dad ar iddo fyned heibio oddiwrtho? A ydoedd yn bosibl ei fod am gilio yn ol rhag y dyoddefiadau a'r ing y soniai gymaint am danynt, fel yr oedd yr awr yn nesau? Pan ddaeth yr adeg ai tybed ei fod yn petruso yn yr hyn a gymerasai mewn llaw er achub dyn? Ymddengys hyn yn anmhosibl. Er edrych ar lawer o'r merthyron yn rhoddi eu cyrff i'w llosgi, dylem gofio fod yr Iesu yn dra gwahanol iddynt hwy. Nid oedd ganddynt hwy ddim i'w wneyd ond marw, ond yr oedd ganddo ef lawer rhagor i'w wneyd nag wynebu angau yn ei wedd mwyaf erchyll." Gwelsom ei fod yn agored i gael ei demtio yn mhob peth yr un

ffunud a ninau, ond nid rhaid i ni yma fyned dros yr ystyriaethau a gynygiwyd mewn cysylltiad a'r brofedigaeth yn yr anialwch. Gwyddai y diafol yn awr mai dyma y siawns olaf a gai arno byth, ac ymosodai arno gyda'r ffyrnigrwydd mwyaf, gyda holl rym ei deyrnas. Yr oedd holl uffern wedi ei gollwng yn rhydd, a llawn ganiatad iddi os gallai, yru enaid yr un sanctaidd i anobaith. Yr oedd ei Dad yn cuddio ei wyneb, a'r nefoedd uwchben wedi ei chuddio gan gymylau trwchus, ac nid oedd wiw iddo edrych na gwaeddi am gymorth oddi yno; yr oedd yn rhwym o sefyll ei hunan neu syrthio. Y cwpan, y demtasiwn a drywanai ei fynwes, ydoedd y cymelliadau oedd ar ei enaid i ymwrthod a'r gorchwyl â gymerasai mewn llaw. Ond y man eithaf y gallai y demtasiwn ei ddwyn ydoedd i waeddi, "Os yw bosibl aed y cwpan hwn heibio," sef yr ing yn yr ardd a chuddiad wyneb ei Dad. Dywed ysgrifenydd efengylaidd arall ar yr un mater: "Diau mai rhoddi ei ufudd-dod i eithaf prawf a wnaed yma. Yr oedd bwriad tragywyddol i roddi Gwaredwr pechaduriaid i'r prawf mwyaf tanllyd, i'w brofi fel yr aur yn y ffwrnes er dangos ei burdeb coeth, ac i'r dyben hwn caniatawyd i alluoedd y tywyllwch wneyd yr ymosodiad mwyaf haerllug arno er ceisio cael ganddo anufuddhau i ewyllys ei Dad, trwy wrthod y cwpan erchyll. Yn unol a'r arfaethiad hwn o eiddo y Tad, goddefwyd i feddwl yr Iesu fyned dan gwmwl tywyll, a goddefwyd i'w natur ddynol ddangos ei harswyd o'r cwpan." Etyb yr ysgrifenydd hwn yr wrthddadl fod dynion duwiol yn syllu yn serchog yn wyneb angau yn ei wedd mwyaf hagr, nad oedd ganddynt y fath faich ag iachawdwriaeth byd o

bechaduriaid; hefyd na ddysgwylid oddiwrthynt hwy burdeb perffaith a hollol ger bron Duw. Gwyddent hwy hefyd os llithrent, fod maddeuant gyda Duw, ac fod eiriolwr ar eu rhan o flaen gorsedd Duw, ond nid allai yr Iesu ymgysuro fel hyn. Gwyddai ef fod yn rhaid iddo farw, yn gystal a byw, yn gwbl ddifai, ac os byddai i eithafedd ei ddyoddefaint a'i boenau dynu cymaint ag un meddwl anfoddlawn tuag at ei Dad, neu ddialgar tuag at ddynion a chythreuliaid a'u poenydient, y buasai hyny yn bechod, a'r canlyniad fyddai colli y cwbl mewn moment, ac i'w ddyweddi gael ei damnio byth. Ystyriaethau fel hyn efallai oeddynt y ffynonell o'r hon y tarddai yr ymdrech meddwl a'r ofnau a barent iddo chwysu gwaed y nos hono yn ngardd Gethsemane.

Wedi brwydr galed cafodd yr Iesu fuddugoliaeth lawn a'r uffern a'i holl nerthoedd, a chyda bod hon drosodd wele ei elynion dynol gyda eu harfau milwrol a'u lampau, a Judas Iscariot o'u blaen yn agoshau. Gofalodd y Sanhedrim am fintai o filwyr Rhufeinig, gyda eu swyddogion eu hunain, rhag ofn y buasai gwrthwynebiad yn cael ei wneyd gan ei ganlynwyr. Yr ydoedd yn noswaith oleu-leuad, ond darparasent lanternau rhag ofn y buasai yr hwn y mynent ei ddal yn llechu yn nghysgodion y coed ac yn dianc o'u gafaelion. Yr oedd Judas, fel y soniwyd, yn gwybod pa le i gael yr Iesu, a gwnaeth ei ffordd yn syth tu a'r fan, gan fyned yn mlaen at yr Iesu a'i gusanu, fel y gwnai cyfeillion yn y Dwyrain pan heb weled eu gilydd dros yspaid o amser. Dywedodd yr Iesu yn dawel, "Ai â chusan yr wyt ti yn bradychu Mab y dyn?" Dyma y peth sancteiddaf, prydferthaf a mwyaf

cysegredig, sef cusan, wedi ei halogi am byth. Nis gallwn wadu nad ar ddaear y natur ddynol y mae wedi tyfu, ac y mae yn waith bythol ar ein natur iddo gael ei gamddefnyddio fel hyn—cusan a cholyn gwenwynig ynddo. Nid rhyfedd fod enw Judas Iscariot wedi myned yn felldith ac yn rheg. "Pwy bynag a gusanwyf," meddai, "hwnw yw, deliwch ef." Yn awr dyna waith yr Iscariot ar ben, a'r darnau arian wedi eu henill yn bur esmwyth dybygid; ond yn y diwedd profasant i fod yr arian drutaf a enillodd dyn erioed, oblegid wrth eu henill collodd ei enaid ei hun. Nid yw yn ymddangos ddarfod i'r swyddogion ruthro ar yr Iesu yn y man a'i ddal, oblegid cawn ef yn gofyn yn dawel iddynt, "Pwy yr ydych chwi yn ei geisio?" "Yr Iesu o Nazareth," oedd yr ateb parod, a chyda'r geiriau tarawyd hwy gan ryw amlygrwydd o Dduwdod nes y syrthiasant yn wysg eu cefnau ar y ddaear, ac yno y buasent byth am a wyddom, oni buasai i'r hwn a'u tarawodd eu hadfer a'u codi. Gofynodd yr Iesu drachefn, "Pwy yr ydych chwi yn ei geisio?" a rhoddasant hwythau yr un ateb, ond mewn tôn lawer mwy lleddf y tro hwn dybygwn. "Os myfi yr ydych yn ei geisio," meddai yntau, "gadewch i'r rhai hyn, (ei ddysgyblion) fyned ymaith." Rhoddai hyn awgrymiad eglur i'r dysgyblion i ymadael a chilio yn fuan o'r perygl. Yna rhoddodd ei hun i fyny i ddwylaw y swyddogion, a gofeddodd iddynt ei rwymo.

Safai Simon Pedr yn ymyl ei Athraw, a theimlai yn benderfynol o ymladd yr holl fintai. Tynodd ei gleddyf a tharawodd ddyn o'r enw Malchus, gwas yr Archoffeiriad, gan dori ymaith ei glust ddehau. Mae

yn bur debyg fod y Malchus hwn yn prysuro ei hun i ddal a rhwymo yr Iesu, ac mai amcan Pedr yn ddiau oedd hollti ei ben. Hawdd genym gredu fod Pedr yn taro o gariad at ei Arglwydd a theimlad byw drosto, eithr daw llinell arall o nodweddiad Pedr i'r golwg heblaw cariad. Yr oedd cadw i fyny ei anrhydedd ei hun yn gystal ag amddiffyn ei Athraw yn y cyfrif ganddo, a phe buasai ond ystyried, gallasai ganfod ei fod trwy hyn yn dwyn amheuaeth ar ei Arglwydd o fod yn ben ar blaid wladol. Rhoddai le teg i'r Phariseaid ymgyfiawnhau am ddod a gwyr arfog allan i'w ddal. Effeithiodd tarawiad yr ergyd annoeth i newid yr olygfa mewn eiliad. Tynai y milwyr eu cleddyfau gan barotoi i daro, ac yr oedd daear gysegredig Gethsemane ar fin myned yn faes gwaed; ac oni buasai i'r Iesu gyfryngu mewn pryd, buasai Pedr ai gyd-ddysgyblion oeddynt wedi eu harfaethu i fod yn golofnau yr eglwys efengylaidd wedi eu lladd a'r cleddyf yn y man. Gyda fod cleddyf Pedr wedi disgyn ar ben Malchus, daeth yr Iesu yn mlaen i wneyd y rhwyg i fyny. "Goddefwch hyd yn hyn," meddai, a chyffyrddodd glust y dyn archolledig ac iachaodd hi yn wyrthiol. Fel hyn cyflawnodd ei wyrth olaf ar un o'r dynion casaf yn y fintai. Trwy hyn achubodd yr Iesu ei ddysgyblion o ddwylaw ei elynion, gan roddi ar deall iddynt ei fod ef yn ewyllysio iddynt gilio i ddiogelwch, yr hyn a wnaeth naw o honynt yn ddioedi. Dangosai yr Iesu mai nid un o gaethion rhyfel ydoedd ef, ac na fynai i waed dynol gael ei dywallt yn ei achos. Dywed Marc i ryw wr ieuanc, wedi ymwisgo a lliain main ar ei gorff noeth, ddylyn ar ol y swyddogion oeddynt yn ngafael a'r

Iesu, ac i'r gwyr ieuainc, o fysg y milwyr neu o blith y segurwyr diwerth sydd bob amser yn crogi o amgylch y fath dorf, a phob amser yn barod i unrhyw fudr waith o'r fath, geisio ei ddal, ond ymrwygodd o'u gafael gan adael ei nos-wisg yn eu dwylaw, a ffodd ymaith yn noeth. Ni ddywedir pwy oedd y dyn ieuanc yma na pha beth oedd yn ei geisio allan yn ei noswisg. Tebygol ei fod yn byw gerllaw, ac iddo gael ei ddeffro gan y swn a'r siarad a chodi i edrych beth oedd yn myned yn mlaen. Nid yw yn eglur iawn beth oedd dyben Marc yn dod a'r hanes i mewn, os nad i roddi ar ddeall fod yr Archoffeiriaid wedi rhoddi gorchymyn i ddal y dysgyblion gyda'r Iesu, ac i'r gwyr ieuainc dybied mai un o honynt oedd y llanc hwn. Tybia amryw ysgrifenwyr mai Marc ei hun ydoedd, a'i fod yn dodi yr hanes i mewn, fel y gwna Ioan yn fynych, gan gadw ei enw ei hun o'r golwg.

Aeth y fintai arfog a'r Iesu yn rhwym i dy Annas. Golygfa gynyrfiol a phruddaidd yw gweled dyn wedi ei rwymo, pa mor ddu bynag y byddo ei drosedd; ond wele Iesu Grist yn rhwym, a chanoedd o ddynion arfog yn ei wylio! Yr Iesu caredig, diniwed, a fuasai wrthi o foreu hyd hwyr bob dydd am flynyddoedd, yn cerdded o amgylch gan wneuthur daioni i bawb, ac heb erioed ddweyd gair cas wrth neb—hwnw yn rhwym! Gallesid meddwl fod dyn, a'i gyngreirwyr uffernol wedi llwyddo i ddymchwelyd llywodraeth Duw, oblegid wele unig-anedig Fab Duw ei hunan newydd ei ddal, ac yn rhwym mewn gefynau ganddynt. I edrychydd ar ael mynydd yr Olewydd, felly yr ymddangosai pethau. Ond yr ydym ni wedi deall bellach,

mai newid dau le â throseddwyr deddf yr oedd yr Iesu, a myned dan y rhwymau ei hunan o'i wirfodd er mwyn cael ffordd i ryddhau y troseddwyr yr ydoedd.

---

## PENNOD XXIII.

*Dwyn yr Iesu i'r llys—Pedr yn gwadu ei Arglwydd—Gwahanol dreialon yr Iesu—O flaen Annas, Caiaphas a'r Sanhedrim—Y prawf cyntaf o flaen Pilat.*

Yn awr dechreuodd y gwahanol dreialon yr aeth yr Arglwydd Iesu drwyddynt. Aeth y fintai ag Ef at Annas, chwegrwn Caiaphas, yr hwn oedd Archoffeiriad y flwyddyn hono. Yr oedd yr Annas hwn yn hen "bechadur canmlwydd," yn Saducead o egwyddor, ac yn elyn calon i'r Iesu, a gallwn weled yn Efengyl Ioan, iddo wneyd ei oreu i'w faglu a'i rwydo er mwyn cael cyhuddiad yn ei erbyn. Buasai Annas yn Archoffeiriad am gryn dymor, ac yr oedd yn wr o gyfoeth a dylanwad mawr, a gelwid ef yn Archoffeiriad o barch iddo, er ei fod allan o swydd. Mae yn lled amlwg fod Pedr ac Ioan, yr un modd a'r dysgyblion eraill, wedi gadael yr Iesu yn y ardd a ffoi, eithr darfu iddynt ymwroli a throi yn ol, gan ddylyn y dorf. Aeth Ioan yn mlaen i'r llys, ond ymdroai Pedr o gylch y drws, nes y llwyddodd Ioan, o herwydd ei gydnabyddiaeth â theulu yr archoffeiriad, i'w gael i mewn. Cawn mai merch oedd yn gweithredu fel porthor yn mhalas yr Archoffeiriad, yr hyn a ymddengys yn ddyeithr, gan fod y rhyw fenywaidd yn ym-

gadw mor neillduedig yn y dwyrain. Yr oedd hyn modd bynag yn arferiad achlysurol yn mhlith yr Iuddewon, y Groegiaid a'r Rhufeinaid. Ceir esiampl arall o hyn yn Act. 12, 18. Pâr gwedd yr hanes i ni feddwl mai caethforwyn arw, wr-aidd, ydoedd hon, yn fwy cymwys i fod yn mysg y dynion nag yn nghwmniaeth ei rhyw dyner ei hun. Clywsom ddywedyd lawer gwaith, na ddarfu i gymaint ag un o'r rhyw fenywaidd ddangos ei danedd ar yr Iesu erioed. Ond yr ydym yn ofni nad oedd y forwynig druan hon yn hollol rydd oddiwrth hyny. Er mai â Phedr yr oedd yn siarad, hi a gyfeiriai ato, gyda diystyrwch, mae'n debyg, fel yr "Iesu o Nazareth."

Yr oedd y ddau ddysgybl, Pedr ac Ioan, yn awr yn nhgyntedd y palas gyda'r swyddogion, y rhai am ei bod yn oer, a wnaethent dan glo i ymdwymno. Ymwthiai Pedr yn mlaen gan geisio ymddangos fel edrychwr diofal. Yr oedd fel hyn yn actio celwydd, trwy ymddangos yr hyn nid oedd. Cafodd Ioan lonydd heb i neb ddweyd gair. Yr oedd ef yno ac mor agos at ei Arglwydd mae'n ddiau ag y gallai fod, ond cadwai yn ddystaw, a phe buasai i Pedr ymddwyn fel Ioan cawsai yntau lonydd. Eithr ceisiai efe ymddangos fel un o'r cewri a fuasent yn dal y Nazaread, a chanddo gystal hawl i fod yno a neb o honynt. Gallai glywed os nad gweled yr oll oedd yn myned yn mlaen yn ystafell fawr y llys, oblegid yr oedd y rhan lle codasid y frawdle yn uwch na'r gweddill, ac yno yr oedd yr Iesu ganddynt o dan holiad. Yno hefyd mae'n debyg y safai Ioan i sylwi yn fanwl ar bob gair a ddywedid. Mae yn anhawdd deall pa fodd y rhoddai yr Archoffeiriad na neb o'r isafiaid oddefiad i Ioan

y dysgybl, pan oeddynt oll, o'r ddrysores druan i fyny, mor chwerw a dialgar tuag at yr Athraw. O'r diwedd dechreuodd Pedr deimlo yn ofnus; ymadawodd ei hyder blaenorol, a dechreuodd ei bryder dros ei Arglwydd roddi lle i ofnau am ei ddiogelwch ei hun. Dechreuodd y ddrysores a'i gollyngasai i mewn feddwl ei fod yn un o ddysgyblion yr Iesu, o herwydd efallai ei fod wedi ei ollwng i mewn ar gais Ioan, ac wedi llygadu arno a gwneyd sylwadau yn ei gylch wrth y gweinidogion, ac yn cael ei chynyrfu, efallai, wrth ei weled mor hyf a digywilydd, gofynodd iddo, ai nid oedd efe yn un o ganlynwyr y dyn hwnw. Gwadodd yntau yn hyf, ond dechreuodd ganfod fod y cwmni yn llygadu arno mewn amheuaeth, a chiliodd oddiwrth y tân tua'r porth oedd yn arwain allan. Y pryd hwn y canodd y ceiliog y waith gyntaf, ond yr oedd cynwrf mawr ei feddwl wedi ei ddyrysu a'i synu fel na wnaeth un sylw o hono. Yn fuan cymerodd dynes arall y mater i fyny, a dechreuodd ddyweyd wrth y rhai oedd o amgylch, "Y mae hwn yn un o honynt." Parodd hyn i Pedr arswydo yn fwy fyth, a gwadodd drachefn yn haerllug. Yr oedd gan hon adgof lled sicr ddarfod iddi weled ei wyneb gyda'r Iesu, eithr dichon nad oedd goleuni digonol iddi allu bod yn gwbl sicr mai efe ydoedd. Ymwthiodd Pedr yn awr, am na allai fyned allan yn hwylus, i ganol y dorf oedd yn yr ystafell, gan geisio siarad yn ddidaro am yr hyn oedd yn myned yn mlaen, heb feddwl fod ei acen wladaidd yn ei gyhuddo. Yn fuan gwelwyd ef gan un o'r dynion fuasai gyda'r fintai yn Gethsemane—câr i Malchus y torasai Pedr ei glust, yn ol un o'r Efengylwyr—yr hwn a ddywedodd yn

ei wyneb, "Yr wyt tithau yn un o honynt," ac i gadarnhau ei haeriad dywedai fod "ei leferydd yn ei gyhuddo." Yr oedd acen erwin ar dafodiaith y Galileaid, o'r hyn y gwneid llawer o ddifyrwch a gwawd gan yr Hierosolomitiaid. Dychrynodd Pedr ar hyn, a chyda llwon difrifol gwadodd bob cysylltiad â'r Iesu, a haerai nad oedd gymaint ag yn ei adnabod. Gyda bod y geiriau bryntion dros ei wefusau, canodd y ceiliog drachefn, ac ar y foment hono edrychodd yr Arglwydd Iesu o'r neuadd yn llygad Pedr. Darfu i edrychiad difrifol a llawn o gariad yr Iesu drywanu ei galon, a gwnaeth Pedr ei ffordd allan trwy bob rhwystr. Dygodd yr edrychiad tyner a chaniad y ceiliog i'w gôf eiriau yr Iesu ychydig oriau yn flaenorol, ac wylodd yn chwerw dost. Yr oedd dau o'r dysgyblion, sef Simon Pedr a Judas Iscariot, yn awr mewn gofid dirfawr; ond byddwn dyner wrth Pedr, ymddiried gormod i'w nerth ei hun ddarfu iddo ef. Mae hunanymddiried wedi taflu llawer gwr grymus cyn hyn, a dyma a fradychodd Pedr dwymn-galon i'r pechod brwnt o wadu ei Arglwydd.

Rhoddwn yma drefn y gwahanol arholiadau, fel y deallwn, ag y bu yr Arglwydd Iesu o danynt. I. Cymerwyd ef o flaen yr hen Annas, Ioan 18.13. Yr oedd hyn yn nhrymder y nos, o un i ddau o'r gloch efallai. II. Anfonodd Annas ef at Caiaphas, a holid ef tra yr oedd y cyngor yn ymgasglu yn nghyd. Holwyd ef gan Caiaphas ei hun, a chan aelodau y cyngor fel y deuent i mewn y naill ar oll y llall, cyn iddi ddechreu dyddio. Cariwyd yr arholiad yma yn mlaen yn rhag barotoawl erbyn, III. Treial, sef yr arholiad ffurfiol a gynaliwyd yn ol y gyfraith wedi

iddi oleuo dydd, o flaen y Sanhedrim yn gynulledig. Gwel Mathew, Marc a Luc. Yr oedd hyn oll o flaen yr awdurdodau eglwysig. Cymerodd tri arholiad arall le o flaen yr awdurdodau gwladol. I. O flaen Pontius Pilat. II. O flaen Herod. III. O flaen Pilat drachefn, pan y traddodwyd ef ganddo i'w groeshoelio. Rhwng y gwahanol arholiadau hyn dygwyddodd yr amgylchiadau canlynol. 1. Y gweinidogion Iuddewig yn ei wawdio cyn yr arholiad cyntaf o flaen y cyngor. 2. Yr ail arllwysiad o'u bustl wedi i Herod ei holi, pryd y rhoddwyd hen wisg wen am dano. 3. Ei wisgo mewn mantell borphor, ei guro a'i dynu yn ol ac yn mlaen wedi i Pilat ei draddodi. Ni sonia y tri Efengylwyr cyntaf am Annas o gwbl, eithr dywed Ioan iddo yntau fod a llaw yn y gorchwyl.

Y mae llawer o anhawsder i ddeall yr hanes. Y syniad a ddylynir genym ydyw, fod Annas a Caiaphas yn byw yn yr un palas. Rhydd hyn gyfrif dros fod y gwarchlu yn aros yn yr un man tra y dygid yr arholiadau yn mlaen mewn dau wahanol le, mewn dwy ystafell yn yr un ty fe ddichon. Os cymerwn hanes gwadiad Pedr, fel yr adroddir ef gan Ioan, yn ei gysylltiad a'r un hanes fel yr adroddir ef gan yr efengylwyr ereill, rhydd hyn eglurhad paham y gadawa yr efengylwyr cyntaf Annas yn gwbl allan o'r hanes. Amcan Annas frwnt ydoedd ceisio maglu yr Iesu fel ag i wneyd rhyw gymorth i Caiaphas pan y delai o'i flaen ef. Rhydd hyn hefyd gymorth i ddeall paham y rhydd Mathew a Marc yr arholiad o flaen yr Archoffeiriad yn flaenaf, ac yna yr hanes am Pedr, tra y rhydd Luc hanes Pedr yn flaenaf. Lled debyg fod

trafferthion Pedr yn y llys wedi ymestyn o ddechreu hyd yn agos i ddiwedd prawf ei Arglwydd.

Y trosedd y ceisiai Annas a Caiaphas ei osod yn erbyn yr Iesu, ydoedd, ei fod yn honi mai efe oedd y Messiah, a'i fod yn ceisio codi plaid yn mysg y bobl. Gwrthodai yr Arglwydd Iesu sefyll ar ei amddiffyniad, nac ychwaith ddweyd gair y gallent ei wyrdroi yn ei erbyn. O'r diwedd daeth holl aelodau y Sanhedrim at eu gilydd, er nad oedd eto dybygem ond prin yn oleu ddydd, a phrysur barotoent at gynal y prawf erbyn y delai yr awr y gallent wneyd hyny yn unol a'r gyfraith. Yr oeddynt wedi penderfynu ar ddinystr eu carcharor, ac er mwyn cadw eu henwau i fyny yn unig y gwnaent ymddangosiad o brawf arno. Yr oedd raid cael o leiaf ddau dyst ar bob mater o bwys, ac ymddengys fod y llys rhyfedd hwn wedi bod yn casglu dynion a rhoddi tystiolaethau yn eu genau fel y byddai yr angen yn galw; ond er eu holl ofal a'u medr nid oedd eu cynlluniau yn gweithio yn dda. Methent gael y ddau dyst i ddweyd yn gymwys yr un peth, yr hyn oedd hollol angenrheidiol. Y peth agosaf allent gael ydoedd dau i dystio iddo ddyweyd ryw bryd tua thair blynedd yn flaenorol "Mi a ddinystriaf y deml hon o waith dwylaw, ac mewn tridiau yr adeiladaf arall heb fod o waith llaw." "Ac eto," medd yr hanesydd, "nid oedd eu tystiolaeth hwy felly yn gyson." Yr oedd yn sicr yn gamdystiolaeth, oblegid nid felly y dywedasai yr Iesu. Ond nid ymostyngodd yr Arglwydd Iesu i wrthbrofi eu tystiolaeth, ac ni chroes-holodd hwy ychwaith, fel ag i beri iddynt wrthddywedyd eu hunain, fel y gallasai yn hawdd wneyd. Ni ofynai ac ni atebai ddim. "Fel

y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiant, nid agorai yntau ei enau." Yr oedd hyn yn gwbl gyfiawn a theg ynddo, oblegid nid prawf, ond erledigaeth, ydoedd. Yr oedd y dystawrwydd hwn yn creuloni y cyngor yn enbyd yn ei erbyn, o herwydd canfyddent ei bod yn myned i'r pen arnynt.

Wedi llawer iawn o ymdrech gyda'r tystion i gael rhywbeth yn erbyn yr Iesu, a methu yn hollol, ymostyngodd Caiaphas yn ei falais i ddefnyddio y llwybr mwyaf annheg ac isel—llwybr na oddefai deddf Moses, ac na oddefir yn awr mewn un llys barn, sef rhoddi gofyniad i'r carcharor, a'i dynghedu, yn enw y Duw byw, i'w ateb, er y byddai yr atebiad yn peryglu ei fywyd. Awgrymodd yr Arglwydd Iesu iddo yr annghysondeb yr oedd y llys yn ei wneyd, ac archodd iddo brofi y cyhuddiad trwy dystiolaeth, os gallent; ond wedi ei dynghedu gan y prif swyddog i siarad, dywedodd mewn geiriau eglur, mai efe oedd y Messiah. Nid oedd hyn eto yn ddigon, oblegid yr oedd yn gorphwys arnynt hwy i brofi bellach mai nid efe ydoedd. Yna dywedodd yr Iesu ei fod ef yn honi mwy na bod y Messiah, yn ol eu syniad hwy am Fessiah, sef bod yn Fab Duw. Gafaelodd y llys yn awyddus iawn yn y geiriau, er cael ganddo eu hail ddweyd. "Ai Mab Duw, gan hyny, ydwyt ti?" meddynt. Yr oedd atebiad yr Iesu yn gadarnhaol hollol. Ar hyny neidiodd y prif swyddog i fyny, a'i galon yn llon, o herwydd cael y fath dystiolaeth o'i enau ef ei hun—tystiolaeth ddigonol i'w gyhuddo am gabledd; ac yn ddioedi cyhoeddwyd dedfryd marwolaeth arno gan y llys. Wedi ei euog-farnu fel hyn, cyfrifid ef tu allan i amddiffyniad cyfraith, ac ystyrid pawb at eu rhyddid i dywallt

eu dirmyg arno fel y mynent. Dechreuodd yr ysgubion sydd bob amser yn ymgasglu i'r fath leoedd, ei faeddu, a phoeri yn ei wyneb, yr hyn oedd yr anfri mwyaf ellid wneyd i ddyn byw. Cilgwthient ef, a llusgent ef o amgylch; rhoddent fwgwd ar ei lygaid, a chernodient ef, gan erchi iddo broffwydo pwy oedd wedi ei daro.

Can belled a hyn, a dim pellach, y gallasai yr Iuddewon fyned. Er fod dedfryd marwolaeth wedi ei chyhoeddi arno ganddynt hwy, ni feiddient ei rhoddi mewn grym, oblegid yr oedd awdurdod bywyd ac angau wedi ei gymeryd o'u dwylaw. Ni allent roddi y troseddwr gwaethaf i farwolaeth, heb i'r rhaglaw Rhufeinig gadarnhau eu dedfryd arno. Yn y fan hon gwynebid hwy gan rwystr annymunol arall. Trosedd yn erbyn deddf eglwysig, sef cabledd, oedd trosedd yr Iesu, a byddai yn anhawdd cael gan Pilat, yr hwn ydoedd bagan, i ganfod llawer o niwed yn y fath drosedd. Neu hwyrach y byddai iddo wrando arnynt, a'i gondemnio yn ol eu cais, ac yna ei droi yn ol i'w dwylaw hwy i roddi y ddedfryd mewn gweithrediad; ac os felly, llabyddio fuasai y gosp. Ni wnaethai hyny y tro mewn un modd, oblegid gallasai y torfeydd ei gipio drachefn o'u dwylaw; gan hyny, yr oedd yn gwbl angenrheidiol cyflwyno yr achos i'r llywodraethwr mewn gwedd ag y byddai iddo ef, nid yn unig ei gondemnio, ond cario allan y ddedfryd hefyd. Heblaw hyny, rhaid oedd iddynt brysuro, oblegid hwn oedd y dydd olaf y gallasai y llys eistedd cyn y Pasg; ac os na allent gyflawni y cwbl cyn min yr hwyr y dydd hwnw, buasai raid ei adael dros saith diwrnod y Pasg. Buasai cadw yr Iesu cyhyd a hyny mewn

rhwymau, i ddysgwyl am ddedfryd Pilat, yn hollol anghyfleus; ac nid oedd sicrwydd ychwaith y buasai Pilat yn cymeryd sylw o'r achos ar ol yr wyl, cyn dychwelyd adref i Cesarea. Yn Cesarea y trigianai y rhaglawiaid Rhufeinig, ac ymwelent â Jerusalem ar adegau neillduol, megys y gwyliau arbenig, er gweinyddu eu swydd, a chadw trefn yn y brif ddinas aflonydd a therfysglyd. Rhydd hyn gyfrif am frys y penaethiaid gyda'r gorchwyl hwn o gollfarnu yr Iesu. Yr oedd ganddynt ddigon o amser i gael gwarant y llywodraethwr, a'i chario i weithrediad, ond gwneyd y goreu o hono; eithr buasai cadw yr Iesu yn rhwym wyth diwrnod, hyd yn nod wedi ei draddodi gan Pilat i'w groeshoelio, yn dra thueddol i gynhyrfu yr holl ddinas, a'r canoedd o filoedd o ddynion oedd ynddi, ac o'i hamgylch, i ail weithredu yn ei ffafr, pan glywent am ei gondemniad, a'r gamdriniaeth a gafodd gan y Sanhedrim. Felly, yr unig ffordd ddiogel oedd cael condemniad a'i gario i weithrediad cyn y Pasg.

Yn awr wele hwy, agos i ddeg a thriugain o nifer (tebyg nad oedd Nicodemus na Joseph o Arimathea yn eu mysg), yn myned yn un corff, a chanoedd, efallai filoedd, o wehilion y bobl gyda hwy, at balas neu lys Pilat. Peth cwbl anarferol oedd hyn, ac ar awr anarferol o'r dydd, eithr yr oedd ganddynt amcan pwysig, sef gwneyd argraff ddisymwth ar feddwl Pilat fod ganddynt garcharor na bu ganddynt erioed o'r blaen ei gyffelyb. Yr oedd yr Iesu, mae yn amlwg, mewn gefynau trymion, a than ofal gwarchlu o filwyr. Gobeithient felly gael gan Pilat lawnodi gwarant angau arno ar eu gair hwy. Wedi dwyn y carcharor yn mlaen, nid allai y penaethiaid Iuddewig sanctaidd

fyned i mewn i neuadd y llys, rhag cael eu halogi trwy ymgymysgu a'r rhai dienwaededig, ac felly anghymwyso eu hunain i fwyta y Pasg. Yr oedd lle wedi ei barotoi dan yr awyr agored yn gysylltiedig a'r Palas hwn, a elwir *Praetorium*, wedi ei balmantu â mynor amryliw, a gorsedd wedi ei chodi arno i'r rhaglaw Rhufeinig weinyddu barn oddiarni. Agorai drws o'r llys, neu y dadleudy fel y'i gelwir, i'r palmant, trwy yr hwn yr elai y barnwr i mewn ac allan. Fel hyn gallai yr Iuddewon sefyll o amgylch heb beryglu cael eu halogi gan y rhaglaw paganaidd a'i weinyddwyr. Wedi esgyn i'r orsedd gyda rhwysg, gofynodd y rhaglaw pa gyhuddiad a ddygid yn erbyn y carcharor. Er fod y gofyniad yn eithaf teg a rhesymol, cymerodd yr Iuddewon arnynt dramgwyddo yn fawr o'i herwydd. Mae yn bosibl y gwyddent ryw gymaint am deimlad Pilat tuag at yr Iesu, ac yr ystyrient dôn y gofyniad fel amnaid iddynt eu bod wedi dwyn dyn o'i flaen nas gallent brofi dim yn ei erbyn. Yr oedd hyn, yn lle cael ganddo lawnodi y warant heb ymholi dim i'r achos, fel y dysgwylient, yn siomiant cas iddynt. Mae yn bosibl, hefyd, fod Pilat wedi ei daro gan yr olwg syml, brydferth, dawel, a mawreddog oedd ar yr Iesu; golwg dra gwahanol i eiddo yr hen droseddwyr celyd yr arferasai drafod eu hachosion.

Fel yr awgrymwyd, yr oedd yn anarferol o foreu i ddwyn unrhyw achos yn mlaen, a braidd na thybiem i Pilat siarad yn llym wrth yr Iuddewon am ei aflonyddu y pryd hwnw o'r dydd. Atebasant hwythau iddo, gan ddywedyd, oni buasai ei fod yn ddrwg-weithredwr, na ddygasent ef ato o gwbl, llawer llai ar yr awr anamserol hono. Gallwn fod bron yn sicr i Pilat

glywed llawer o son a siarad am yr Iesu, ac yr ydoedd o bosibl, wedi ffurfio barn led ffafriol am dano. Hefyd gallwn feddwl oddiwrth ymadrodd Pilat, fel y cawn ef gan Ioan, iddynt ddod a'r un trosedd yn erbyn yr Iesu ag y cyhuddent ef o hono o flaen y cyngor Iuddewig, sef trosedd yn erbyn y deddfau crefyddol, pryd y gorchymynodd y rhaglaw iddynt ei gymeryd yn ol, a'i farnu yn ol eu deddfau hwy. Ond er fod y rhaglaw yn ffafriol i'r Iesu, yr oedd, fel y gallwn ganfod, yn ddyn hollol diymddiried. Cydnabyddai nad oedd dim yn y carcharor yn haeddu angau, ac ar yr un anadl, dywedai am iddynt ei roddi i farwolaeth os mynent! Ystyriai ef gyhuddiad o'r fath o ychydig bwys—yn fater o opiniwn yn unig, a methai ganfod y rhesymoldeb o roddi dyn i farwolaeth oblegid ei ddaliadau crefyddol.

Wedi methu gyda'r cyhuddiad o gabledd, trodd yr Iuddewon, gyda y deheurwydd mwyaf, ar eu sodlau, a chyda gwedd ddifrifol iawn ceisient ddangos eu hymlyniad trwyadl a gonest, yn nghyda'u cariad cryf at Caesar, a thystient fod yr Iesu yn gwyrdroi y bobl oddiwrth eu hufudd-dod iddo, ei fod yn gwahardd talu teyrnged i'r ymerawdwr, gan honi ei fod ef ei hun yn frenin; a cheisient, yn annheg i'r eithaf, roddi ar ddeall i'r rhaglaw ddarfod iddynt hwy ei brofi yn euog o hyny, pryd na roddasent ddim o'r fath yn ei erbyn. Mewn gwirionedd, o herwydd ei fod yn gwrthod y swydd freninol yr oeddynt mor chwerw tuag ato. Ond er mor ddirmygus ac anweddus oedd y cyhuddiad hwn yn erbyn yr Iesu, yr oedd wedi ei ffurfio yn y modd mwyaf cyfrwys a dichellgar er gorfodi Pilat i wneyd sylw o hono; oblegid pe buasai yn

gwrthod, ac i hyny ddod i glustiau ei feistr eiddigeddus Tiberius Cesar, fel y buasai yn sicr o ddod, dygasid ef ei hunan i sefyllfa annymunol i'r eithaf. Er fod Pilat yn argyhoeddedig nad oedd un sail i'r cyhuddiad hwn, cymerodd yr Iesu o'r palmant i'r ystafell o'r neilldu, a gofynodd iddo ai brenin ydoedd. Mewn atebiad gofynodd yr Iesu ai o hono ei hun yr oedd efe yn holi hyn, neu ynte oddiar gyhuddiad yr Iuddewon, yr hyn sydd gyfystyr, feddyliem, a gofyn pa un ai brenin gwladol, neu frenin mewn ystyr grefyddol, sef y Messiah Iuddewig, a feddyliai. Atebai Pilat fel un wedi ei ddolurio gan y gofyniad, "Ai Iuddew ydwyf fi," meddai, gan awgrymu na ellid dysgwyl iddo ef ddeall holiadau o'r fath. Dangosai felly mai brenin gwladol a feddyliai. Cydnabyddodd yr Iesu fod ganddo deyrnas, ond mai nid o'r byd hwn yr ydoedd. Ymddengys i'r rhaglaw gael cip golwg ar ystyr geiriau yr Iesu, eto, fel bydol-ddyn, ciliai yn ol mewn casineb oddiwrth bob peth nad oedd yn perthyn i'r byd hwn, gan ail wasgu y gofyniad mewn ffurf arall, "Wrth hyny, ai brenin wyt ti?" Ni fynai yr Iesu wadu hyn, eithr rhoddai ar ddeall yn eglur i'r rhaglaw nad oedd efe yn hawlio un llywodraeth wladol, a rhoddodd awgrymiad pellach ac eglurach o'i feddwl. "Daethum i'r byd," meddai, "fel y tystiolaethwn i'r gwirionedd. Pob un ar sydd o'r gwirionedd, sydd yn gwrando ar fy lleferydd i." Yr oedd yma apeliad at gydwybod y pagan, gydag amcan, os oedd yn bosibl, i wneyd lles iddo; eithr nid oedd dim yn ei fynwes ef yn ateb i'r fath syniad. "Beth yw gwirionedd?" meddai, a chyda hyny aeth allan at yr Iuddewon, wedi ei gadarnhau yn fwy yn ei feddwl, nad oedd y

carcharor wedi gwneyd dim ag oedd yn galw am y fath gosp ag a fynai ei elynion roddi arno. Nid oedd efe, mewn gwirionedd, yn cael dim bai ynddo.

Wrth ganfod fod Pilat yn tueddu i fod yn dyner tuag at yr Iesu, cynyrfwyd y dorf gan y blaenoriaid i godi llef yn ei erbyn, ei fod yn cyffroi y wlad o benbwy-gilydd, o Galilea hyd Judea. Ni atebodd yr Iesu air i'r cyhuddiad celwyddog hwn, er i'r rhaglaw ei annog i hyny. Synai Pilat, a methai ddirnad paham na buasai yr Iesu yn ateb mewn hunan-amddiffyniad, gan y credai fod yr Iesu yn hollol lân oddiwrth y trosedd. Pe buasai yr Arglwydd Iesu yn dewis, gallasai glirio ei hun yn y man—gallasai ddwyn mil a mwy o dystion parchus, geirwir, i brofi mai malais oedd hyn i gyd, a chawsai ei ollwng yn rhydd, a buasai holl nerth ymerodraeth Rhufain i'w amddiffyn, fel na allasai neb roddi llaw arno mwy. Ond beth a ddaethai o ddyn colledig pe gwnaethai hyny?

Pan glywodd Pilat enwi Galilea, a deall mai o'r dalaeth hono yr oedd yr Iesu, tarawodd i'w feddwl lwybr hapus i ymryddhau oddiwrth yr achos dyrys hwn, trwy anfon y carcharor at Herod, yr hwn oedd Iuddew o ran proffes, ac yn deall achosion o'r fath hyn yn llawer gwell nag y gallasai ef eu deall. Yr oedd Herod y pryd hwn yn y ddinas, wedi dod i mewn i gadw gwyl y Pasg. Ameanai Pilat hefyd, drwy ddangos yr arwydd hwn o barch i Herod, allu rhoddi terfyn ar yr ymrafael oedd rhyngddynt. Tebygol ydyw fod y teimlad drwg yma wedi codi rhwng y ddau trwy i Pilat drin rhai o ddeiliaid Herod yn greulawn pan y deuent i'r gwyliau i Jerusalem, megys y Galileaid hyny y cymysgodd efe eu gwaed gyda

gwaed eu hebyrth yn y deml. Yr oedd anfon achos fel hyn o'i flaen a thuedd uniongyrchol ynddo i wneyd y rhwyg i fyny rhyngddynt. Clywsai Herod, fel y gwelsom yn yr hanes, lawer o son am yr Iesu, a phan ddygwyd ef ger ei fron llawenychai yn fawr, gan ddysgwyl gweled rhyw arwydd ganddo, er mwyn cael ei ryddhau. Ond er mor haelionus oedd yr Iesu da i'r angenus, y tlawd, a'r afiach, ni fynai er hyny ddefnyddio ei allu gwyrthiol i foddloni cywreingarwch dyn caled o'i fath ef, yr hwn a wrthgiliasai oddiwrth athrawiaeth Ioan Fedyddiwr, ac a lofruddiasai ei athraw ffyddlon. Holodd Herod lawer ar yr Iesu, ond nid oedd un o'i gwestiynau yn werth i'r Iesu eu hateb; ni buasai eu hateb yn cynyrchu un dyben da i'r brenin ei hun nac i neb arall. Wedi ei siomi fel hyn yn ei ddysgwyliadau, ffromodd Herod; ac er ei fod yn frenin, ymostyngodd i wawdio a dirmygu ei garcharor diamddiffyn; ac mae yn bur debyg, oddiwrth waith ei isafiaid yn rhoddi gwawd-wisg freninol am yr Iesu, mai ei honiad mai efe oedd y Messiah ydoedd testyn eu hedliwiaeth iddo, ac mai hyn yn benaf a ddygid yn ei erbyn gan yr Iuddewon. Gallasent ddysgwyl i Herod, gan ei fod yn rhyw lun o Iuddew, gymeryd gafael yn y cyhuddiad hwn, er fod Pilat wedi gwrthod. Dirmyg arno fel brenin ydoedd y wisg borphor a roddent am dano. Wedi llwyr flino ar eu difyrwch isel, anfonodd Herod yr Iesu yn ol at Pilat heb roddi un ddedfryd arno. Yr oedd Herod wedi tynu annghlod ac anmhoblogrwydd arno ei hun yn achos Ioan Fedyddiwr, yr hyn oedd eto yn ffres yn meddyliau y bobl, ac yn hytrach nag ychwanegu at ei anmhoblogrwydd a'i euogrwydd, er na ofalai lawer am yr olaf, ymgadwodd heb roddi un farn ar yr Iesu.

## PENNOD XXIV.

*Yr ail brawf o flaen Pilat—Fflangellu yr Iesu—Ei gollfarniad—Yr ymdaith i Golgotha—Y croeshoeliad—Ei gladdedigaeth.*

Darfu i waith Herod yn anfon yr Iesu yn ol, ychwanegu penbleth a dyryswch Pilat yn ddirfawr. Tua'r un pryd anfonwyd cenadwri ddifrifol ato gan ei wraig, yn dymuno yn daer na byddai iddo a wnelai a chondemnio y cyfiawn hwnw, a'i draddodi i ddwylaw ei elynion. Ymddengys na wyddai beth i'w wneyd, pa lwybr a gymerai. Galwodd gyhuddwyr yr Iesu yn mlaen drachefn, a thystiodd nad oedd ef na Herod yn cael un bai ynddo. Gallasai gan hyny wneyd amddiffyniad da drosto ei hun yn Rhufain, pe buasai yr Iuddewon yn anfon cwyn yn ei erbyn at yr Ymerawdwr. Paham, ynte, na buasai yn actio y dyn a'r barnwr cyfiawn, annibynol a mawreddig, ac yn gollwng yr Iesu yn rhydd yn y man? Yr oedd yn rhy anwraidd i wrthsefyll penaethiaid cyfrwys yr Iuddewon. Yr oeddynt yn gallu cadw y llaw uchaf arno yn mhob symudiad a gymerai, a hyny oblegid iddo ddechreu gwyro a rhoddi ffordd iddynt. Nid o ran eu boddio y gwnelai hyn, ond am fod arno eu hofn. Yr oedd yn eu casâu â chasineb angerddol, a hwythau yn ei gasâu yntau yn llawn cymaint.

Yn awr daeth syniad newydd i'w feddwl. Daeth bloedd oddiwrth y bobl, y werin, am iddo gofio yr hen arfer dda o ollwng yn rhydd iddynt un carcharor ar yr wyl, yr hwn a ofynent. Gwyddai Pilat, oddiwrth

holl symudiadau y penaethiaid, mai o genfigen pur y cyhuddent yr Iesu. Gwyddai hefyd fod yr Iesu mewn ffafr gyda y bobl ychydig ddyddiau yn flaenorol, a chan hyny apeliodd dros ben y blaenoriaid at y werin, gan obeithio y dewisent hwy yr Iesu i'w ollwng yn rhydd. Ac er gwneyd hyny yn fwy tebygol, cyplysodd gydag ef un o'r troseddwyr gwaethaf fu erioed yn ngharcharau Jerusalem, sef llofrudd a lleidr o'r enw Barabbas, gan beri iddynt gymeryd eu dewis o'r ddau. Ond yr oedd gwyr y Sanhedrim yn barod i'w gyfarfod ar ei dir ei hun eto. Tebygol fod y terfysg y buasai Barabbas yn blaenori ynddo yn dal rhyw berthynas â'r publicanod Rhufeinaidd a chasgliad y deyrnged, a pherswadient y bobl fod y llofrudd hwn yn fwy o wladgarwr o lawer na Iesu o Nazareth. Yr oedd yr Iesu wedi ymddwyn yn barchus tuag at y publicanod, ac yr oedd un o'i ddysgyblion, a llawer, efallai, o'i ganlynwyr o'r teulu cas hwn. Y canlyniad ydoedd i'r bobl floeddio drachefn, "Bwrw hwn ymaith, a gollwng i ni Barabbas yn rhydd!" Tebygol fod nifer mawr o'r werin eu hunain yn lled barod i hyn, yn annibynol ar anogaeth y blaenoriaid. Yr oeddynt wedi eu siomi yn eu dysgwyliad am frenin-iaeth newydd, a gwaredigaeth trwy yr Iesu, ac o herwydd hyny diau fod canoedd o'r rhai a'i gwrandawent yn ewyllysgar ychydig ddyddiau yn flaenorol, yn awr yn troi yn ei erbyn; llawer o rai a floeddient, "Hosanna i Fab Dafydd," bedwar diwrnod cyn hyny, yn awr yn gwaeddi, "Croeshoelier ef." Nid oedd bellach ddim a'u boddlonai ond tywallt ei waed, eto hyderwn fod euogrwydd llu o honynt wedi ei olchi ymaith yn ei ddwyfol waed ar ol hyny.

Yr oedd yn gwbl groes i deimlad a barn Pilat i gondemnio yr Iesu, eto ofnai ei ollwng yn rhydd. Rhoddodd dro arall ar yr achos trwy orchymyn ei ffrewyllu, gan obeithio y buasai hyny yn tori peth ar eu syched am ei waed. Yr hen ddull o ffrewyllu, yn ol deddf Moses, oedd diosg y troseddwr hyd ei lwynau, ei roddi i orwedd ar ei wyneb ar y ddaear, a rhoddi iddo yn y man eithaf "ddeugain gwialenod ond un" ar y cefn noeth, a hyny bob amser o flaen llygaid y barnwr. Gwialen oedd eu hofferyn i fflangellu, ond yn mysg y Rhufeiniaid yr oedd yr offeryn yn llawer mwy creulawn a gwaedlyd; ac yn ol y dull Rhufeinig y mae yn amlwg y fflangellwyd yr Arglwydd Iesu. Ond taflwn orchudd dros y driniaeth arswydus hon a gafodd yr Iesu; nid oedd yn y diwedd ond rhyw gysgod o wir ddyoddefiadau ein Meichiau. Ni allasai y fflangell gyrhaeddyd ond ei gorff, pryd y mae yn eglur mai enaid yr Iesu a ddaliodd bwys y dyoddefaint.

Wedi myned trwy y gorchwyl o'i fflangellu, ymddengys i'r milwyr megys gipio i fyny ysbryd ei erlidwyr; plethasant goron o ddrain, a rhoddasant hi ar ei ben, yna dodasant fantell borphor am dano, yn gyffelyb i'r modd y gwnaethai Herod, a phlygasant eu gliniau mewn gwawd iddo, gan ei anerch fel brenin. Wedi pentyru arno bob dirmyg allent ddychymygu, arweiniwyd ef yn yr agwedd druenus hon, gyda'r gwaed yn rhedeg o archollion y ffrewyll a phigau y drain, i olwg y bobl er gwneyd apeliad at eu tosturi, os nad at eu teimlad o gyfiawnder. Ond y mynyd y gwelsant ef, codasant eu llef mewn un ysgrech fawr yn ei erbyn. "Y mae yn gwneuthur ei hun yn Fab Duw," meddynt. Yr oedd sain dyeithr y gair "Mab Duw,"

yn nghydag ymddangosiad tawel, amyneddgar, tirion, yr Arglwydd Iesu o dan yr holl driniaeth greulawn, yn synu a brawychu Pilat, a swniai cenadwri ei wraig yn ei glustiau a'i gydwybod hefyd.

Erbyn hyn yr oedd y rhaglaw yn y dyryswch mwyaf poenus. Cymerodd yr Iesu yn ol i'r neuadd, o olwg ac o glyw y bobl, a gofynodd yn ddifrifol iddo, "O ba le yr wyt ti?" Gwyddai Pilat, fel dyn o ddygiad da i fyny, am y traddodiadau paganaidd o ymddangosiad y duwiau mewn cnawd. Er nad oedd ond ychydig o'r Rhufeiniaid dysgedig yn rhoddi nemawr gred na phwys ar y chwedlau hyn, eto nid allent lai na chael dylanwad ar ei feddwl pan yr oedd swn fel hyn yn disgyn ar ei glustiau. "O ba le yr wyt ti?" meddai; fel pe dywedasai, Ai Mab Duw wyt ti mewn gwirionedd? Ond ni welodd yr Iesu yn dda ateb un gair iddo. Nid oedd yn teilyngu atebiad, oblegid gweithredasai yn groes i'w ddyledswydd a thystiolaeth ei gydwybod ei hun, wrth fflangellu yr Iesu heb un achos. Parodd y dystawrwydd hwn i'r barnwr fyned yn daerach, ac mewn tôn arglwyddaidd dywedodd, "Oni ddywedi di wrthyf fi?—oni wyddost ti fod genyf awdurdod i'th groeshoelio di, a bod genyf awdurdod i dy ollwng yn rhydd?" Atebodd yr Iesu, na buasai ganddo un awdurdod arno ef oni b'ai ei fod wedi ei roddi iddo o'r nef; ac, megys i gydnabod ewyllys da Pilat yn ceisio ei achub, dywedodd, fod "yr hwn a'i traddodes iddo yn fwy ei bechod." Cynhyrfodd hyn gymaint o ddynoliaeth oedd yn Pilat yn ei ffafr, ac aeth allan at y bobl, a cheisiodd yn waeaidd ganddynt foddloni iddo ollwng yr Iesu yn rhydd. Ond effeithiodd hyn i gynddeiriogi y dorf

fwyfwy. Yr oedd y rhaglaw eisoes wedi rhoddi ei hunan yn eu dwylaw, trwy ymollwng gyda hwy yn rhy bell, yn lle sefyll yn benderfynol fel barnwr ag awdurdod ganddo.

Dychwelasant yn awr at eu hen gyhuddiad, fod yr Iesu yn sefyll yn erbyn y llywodraeth wladol. "Os gollyngi di hwn yn rhydd," meddynt, "nid wyt ti garedig i Cæsar." Dull o ddweyd yn wyneb boneddwr ydoedd hyn, y byddai iddynt achwyn arno wrth yr ymerawdwr, os na roddai efe eu cais iddynt. Gwyddai Pilat yn dda am natur eiddigeddus ei feistr mawr o Rufain, Tiberius Cæsar, ac os cyrhaeddai swn fel hyn i'w glustiau, y byddai yn beryglus iddo golli ei swydd. Yna dygodd yr Iesu allan, ac mewn gwawdiaeth lem, dywedodd wrth y dyrfa, "Wele eich Brenin. Eithr hwy a lefasant, Ymaith ag ef, ymaith ag ef, croeshoelia ef." Gofynai Pilat eilwaith, "A groeshoeliaf fi eich brenin chwi?" i'r hyn yr atebodd yr archoffeiriaid nad oedd iddynt frenin ond Cæsar, er y casaent ef a'i freniniaeth i'r eithaf. O'r diwedd, cariodd ofn colli swydd uchel ac enillfawr y dydd yn mynwes Pontius Pilat, a thraddodwyd yr Iesu i'w groeshoelio; ond yn ofer y golchai Pilat ei ddwylaw, ac y dywedai, "Dieuog ydwyf fi oddiwrth waed y cyfiawn hwn." Dichon y dywedai hyn gyda rhyw gyfeiriad tywyll at osodiad Moses yn nghylch y llofrudd anhysbys, pryd y golchai trigianwyr y ddinas agosaf eu dwylaw, gan ddywedyd, "ni thywalltodd ein dwylaw ni y gwaed hwn." Ond gallasai gwr o ddysg a gwybodaeth y rhaglaw Rhufeinig ddeall yn amgen, ac na buasai holl ddyfroedd y greadigaeth yn golchi oddiar ei gydwybod yr euogrwydd o roddi dyn diniwed i farwolaeth.

Ar waith Pilat yn ei draddodi, gwaeddodd y dorf gyda rhyw foddlonrwydd cythreulig, os oedd euogrwydd yn yr achos, y safent hwy dano. "Bydded ei waed ef arnom ni, ac ar ein plant," meddynt. Ac fel y dymunent y bu; cafodd eu plant, a llawer o honynt hwythau oedd yn gwaeddi ar y pryd, deimlo beth ydoedd bod gwaed Mab Duw arnynt. Ddarllenydd, trown ninau y geiriau i ystyr arall, a chyd-ddymunwn, "Bydded ei waed ef arnom ni, ac ar ein plant." Wedi i Pilat ildio iddynt, er ei fod y gwr uchaf ei ben, diau genym ei fod y truenusaf yn yr holl ddinas, oddigerth Judas Iscariot. Er yn gwybod gwell, ac yn teimlo i'r byw y dylasai weithredu yn wahanol, eto cyhoeddodd farn marwolaeth ar ein Gwaredwr, a thebygol iddo lawnodi gwarant yn gorchymyn ei groeshoelio.

Yn awr, sef tuag wyth o'r gloch y boreu, feddyliem, trosglwyddwyd yr Iesu i ddwylaw y milwyr. Yr oedd tywallt gwaed yn hyfrydwch gan y dynion hyn, ac fel mae rhai creaduriaid rheibus yn hoffi poenydio eu hysglyfaeth cyn ei ladd, felly hwythau; rhaid oedd iddynt gael difyru eu hunain ar draul eu carcharor, ail a thrydedd waith. Rhoddent yn ei law gorsen i ddynwared teyrnwialen, yna cipient hi o'i law, gan ei daro â hi ar ei ben, ar yr hwn yr oedd y goron ddrain, tynent flew ei gernau, a phoenydient ef yn mhob dull isel a allent. Wedi diflasu ar y fath ddifyrwch, tynasant yr hen wisg borphor, a gwisgasant ef yn ei ddillad syml ei hun, a chychwynasant tua lle y dienyddiad, gyda thorf fawr a thrystiog yn eu dilyn. O blith yr holl filoedd, dim ond un oedd yn dawel, a gallesid gweled hwnw a phren y groes ar ei ysgwydd-

au, a bron cael ei lethu dan y baich. Yr oedd yno ddau eraill yn dwyn beichiau cyffelyb, ond ychydig sylw wneid o honynt hwy; yr Iesu ydoedd canolbwynt sylw a siarad pawb. Ar y ffordd o lys Pilat tua Chalfaria, canfyddai y milwyr fod yr Iesu bron methu myned yn mlaen, dan bwys ei faich, a chymerasant afael mewn dyn oedd yn myned heibio, o'r enw Simon, dyn du medd rhai, o Cyrene yn Affrica, a gorfodasant ef i gynorthwyo yr Iesu i gario y croesbren. Meibion i Simon oeddynt Alexander a Rufus, dau Gristion enwog ar ol hyn, a soniai Paul hefyd am eu mam fel cares iddo ef. Braidd na feddyliem mai methu atal rhyw arwydd o gydymdeimlad a'r Iesu ddarfu i Simon i beri i'r milwyr ei ddewis ef.

Fel hyn elai yr orymdaith yn mlaen, tra yr oedd llawer yn wylo ac yn galaru, o herwydd gweled yr un a garent mor fawr dan y fath driniaeth; rhai o honynt, yn ddiau, wedi derbyn iechyd eu hunain oddiar ei law. Braidd na ddychmygem weled gwyneb y weddw o Nain yno, yn fawr ei gofid, yn nghyda'r wraig y buasai gwendid arni ddeunaw mlynedd. Hefyd Bartimeus, o Jericho, a'r gwr o wlad y Gadareniaid, a llawer eraill a garent yr Iesu yn fawr. Derbynid eu cydymdeimlad gan yr Iesu am ei lawn werth, ac yr oedd yn ddiau yn ysgafnhad i'w fynwes fod yno rai yn cydymdeimlo ag ef. Ond feddyliem nad rhyw lawer o swn a gedwid gan y dosbarth hwn. Yr oedd lluaws eraill yn dolefain ac yn wbau. Fel y sylwyd, arweinid dau eraill gyda'r Iesu i'r dienyddle. Dau leidr oedd y rhai hyn, a golwg arnynt eu bod yn hen droseddwyr rhyfygus, pryd yr oedd diniweidrwydd yn eglur yn wyneb yr Iesu. Hyna a gynyrfai ferched y

ddinas i wylo. Yr oedd yn eithaf naturiol iddynt wneyd hyny, ac nid ydym i ystyried fod yr Arglwydd Iesu yn gwrthod y cydymdeimlad naturiol hwn yn ei achos, oblegid cawn iddo ef ei hunan cyn hyn roddi arllwysiad i deimladau cyffelyb wrth fedd Lazarus, ac uwchben dinas Jerusalem. At y rhai hyn y cyfeiriodd yr ymadrodd, "Merched Jerusalem, na wylwch o'm plegid i, eithr wylwch o'ch plegid eich hunain, ac oblegid eich plant." Yr oedd y rhagolwg ar ddinystr buan Jerusalem, pryd y syrthiai lluaws o'r rhai ieuengaf o'r gwragedd hyn, a chaneedd neu filoedd o'u plant, yn ebyrth i'r cleddyf, y tân a'r newyn, yn ei chanol, yn gofidio meddwl tyner yr Iesu yn nghanol ei ddyoddefiadau ei hun, hyd yn nod yn yr adeg gyfyng hon. Onid ydoedd yn wir ddyn, ac yn ddyn tyner-galon iawn hefyd? Ond nid cael ei arwain gan fraich gref y gyfraith, fel y gwelwyd miloedd o blant dynion, yr oedd efe—myned o'i fodd, yn llaw cariad, i ddyoddef dros bechadur yr oedd yr Iesu. Ni bu dagrau mursenaidd ac arwynebol erioed yn cael eu camgymwyso yn fwy, a chan belled ag yr oeddynt felly, yr oeddynt yn gwbl annerbyniol a gwrthodedig gan yr Iesu. Y mae rhywbeth tebyg i hyn yn gysylltiedig eto â chrefydd, ac y maent mor ddi-werth gan Dduw yn awr ag oeddynt y pryd hwnw. Gofalwn rhag camgymeryd rhyw ddychlamiadau naturiol o gydymdeimlad y fynwes am gariad at Grist.

Yr ydym yn awr wedi cyraedd y llanerch lle yr oedd ei ddyoddefiadau i derfynu. Gafaelodd pedwar o filwyr Rhufeinig ynddo, ac wedi diosg ei ddillad, oddigerth ychydig am ei lwynau, cyfodwyd ef i fyny, a hoeliwyd ef wrth y groes, neu ynte rhoddwyd y

groes ar y ddaear ac yntau i orwedd ar ei gefn arni, ac wedi gyru yr hoelion trwy ei draed a'i ddwylaw, codwyd hi i fyny, ac yntau yn hoeliedig arni, gan ei gollwng i lawr yn sydyn i fortais oedd wedi ei pharotoi iddi yn y ddaear. Dyma y foment y llefodd yr Iesu, "O Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." Nid oedd gan y nefoedd fodd i faddeu iddynt ond trwy rinwedd y gwaed oeddynt yn dywallt, ac am hyny, megys pe dywedasai, na fydded i neb farw sydd a llaw yn agoryd ffordd i fywyd; na fydded agoryd y ffordd i'r nef yn achos i droi neb i uffern; na fydded damnio neb yn dwyn yr un dyddiad a'r Iawn. Y mae rhyw gysondeb rhyfeddol o brydferth rhwng gweddi yr Arglwydd Iesu a'i waith. O! am fod mor debyg ag y gallom iddo. Cymdeithasu llawer â dyoddefiadau pur y groes a duedda i'n gwneyd felly. Myned yn fynych trwy ffydd i Galfaria i glyw swn y weddi ryfedd hon a'n gwna ninau yn faddeugar.

Rhoddasai Pilat deitl yr Iesu, sef "Iesu o Nazareth, Brenin yr Iuddewon," uwch ei ben ar y groes, yr hyn a roddai awgrym am ei drosedd. Yr oedd wedi ei ysgrifenu mewn tair iaith, un o'r rhai a ddeallid gan holl drigolion y dwyrain. Blinai geiriad y teitl flaenoriaid yr Iuddewon yn ddirfawr, ac ni raid i ni fyned yn mhellach i chwilio am yr achos o'u gofid. Un o'r geiriau olaf a ddywedodd Pilat wrthynt yn y *Praetorium* oedd, "Wele eich brenin," gan gyfeirio at yr Iesu gyda'r wisg borphor am dano, a'r goron ddrain ar ei ben. "Nid oes i ni frenin ond Cæsar," meddynt hwythau, yn ngrym eu casineb a'u cynddeiriogrwydd at yr Iesu. Fel hyn, mewn moment anwyliadwrus, rhodd-

asant i fyny bob hawl am frenin o'u cenedl eu hunain. Cymerodd Pilat hwy ar eu gair, a rhoddodd y teitl hwn ar groes yr Iesu fel rhybudd i bwy bynag a honai hawl i freniniaeth Judah, mai y groes fyddai ei ddiwedd. Pan sylwodd yr archoffeiriaid ar yr ysgrifen, canfyddent ar unwaith y camgymeriad truenus a wnaethant, ac aethant ar frys at Pilat i erchi arno ei newid. "Nac ysgrifena, Brenin yr Iuddewon," meddynt, "eithr dywedyd o hono ef, Brenin yr Iuddewon ydwyf fi." Mynent wneyd yn eglur mai am honiad anghyfreithlon o'r freniniaeth y croeshoelid ef; ond atebodd y rhaglaw yn sarug, "Yr hyn a ysgrifenais, a ysgrifenais." Yr wyf yn eich dal at eich dewisiad; deiliaid Cæsar ydych, ac a fyddwch mwy.

Ond dychwelwn at y dyoddefydd mawr ar y groes. Yr oedd ei boenau a'i waradwydd oddiwrth ddynion yn fawr. Gwnaed yr oll a allai dyfais dyn ei gyrhaedd er ei boenydio a'i ddirmygu, eto dengys gwedd yr hanes yn eglur nad oedd y poenau dychrynllyd hyn ar ei gorff ond rhyw gysgod, rhyw arlun egwan, o ddyoddefiadau ei enaid. Yr oedd yn gallu dal ei boenau corfforol heb gymaint a gwingo danynt, ond pan oedd ar y groes, ymddengys i rywbeth ddod dros ei enaid—rhyw ddyeithrwch a gwg oddiwrth ei Dad, tebyg i'r hyn a wnaeth iddo chwysu gwaed yn Gethsemane, a dyma, fel y dywed un, ydoedd "enaid ei ddyoddefiadau." O dan eu pwys diamgyffred dirwasgwyd ef i waeddi, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" I ddarllenydd meddylgar o'r pedair Efengyl, nid yw y driniaeth a dderbyniodd yr Iesu oddiar law dyn yn boddloni y meddwl ei bod yn ddigonol achos i gymeryd ymaith ei fywyd mewn mor lleied a chwech awr o

amser. Sylwa rhai ysgrifenwyr ei fod wedi ei faeddu a'i wanychu trwy y driniaeth galed a dderbyniodd, a'i fod felly yn suddo yn gyflym o dan ddirdyniadau y groes. Eraill drachefn a ddywedant mai gweithred o eiddo ei ewyllys ef ei hun a ollyngodd ei gorff a'i enaid yn rhydd oddiwrth eu gilydd. Mae rhywbeth heb fod yn gwbl wrthodedig yn y ddau olygiad. Am y cyntaf, nid ydym yn credu ei fod yn ddigonol i gyfrif am ei farwolaeth. Mae yr ail yn wirionedd trwyadl, eithr un ochr yn unig i'r mater ddangosir trwyddo. Y mae yn gwbl eglur mai rhoddi ei fywyd i lawr o'i fodd ddarfu i'r Gwaredwr; ar yr un pryd, gwelodd yn dda ymostwng i fyned dan achos digonol o farwolaeth. Er nad oedd dirdyniadau y croeshoeliad ynddynt eu hunain yn ddigonol, cydnabyddwn fod ynddynt eu rhan yn achosiad ei farwolaeth. Os awn i Gethsemane a Chalfaria, megys law yn llaw â'r haneswyr sanctaidd, cawn weled yno bethau rhyfedd iawn. Wele yn Gethsemane ddyn dan gynwrf a phoen meddwl, heb neb yn agos ato, ar noswaith oer, yn chwysu y gwaed yn ddefnynau mawrion; os awn drachefn i Golgotha, ac edrych ar y cwbl yno, yr argraff a dderbynia y meddwl ydyw, mai megys am y llen a ni, yn myd yr ysbrydoedd, yr oedd yr ymdrech fawr yn cael ei chario yn mlaen. Anghofir y groes, yr hoelion a'r bicell, gan yr ymsyniad a dderbyn y meddwl am ddyoddefiadau enaid y gwr oedd ar y groes. Mae dyoddefiadau Crist, hyd yn nod yn y wedd allanol arnynt, yn hollol anesboniadwy ar bob ystyriaeth, ond yn unig mai dyoddef dros bechodau ei bobl yr ydoedd.

Gellid meddwl mai trefniant o eiddo y Sanhedrim Iuddewig ydoedd fod i ddau leidr ddyoddef yr un

amser a'r Arglwydd Iesu, ond trefnodd Duw fod i hyn ateb dyben pwysig arall. Gosodwyd eu croesau hwy un ar bob llaw i'r Iesu. Dywed Matthew a Marc i'r ddau gydymaith truenus hyn gablu yr Iesu pan oeddynt ar y groes, ond dywed Luc i un o honynt geryddu y llall, a chan droi at yr Iesu, iddo ddywedyd, "Arglwydd, cofia fi pan ddelych i'th deyrnas." Cafodd hwn, trwy gymorth yr Ysbryd Glan, olwg mwy clir ar deyrnas ysbrydol y Messiah, nag oedd gan un dyn arall ar y ddaear y diwrnod hwnw. Teyrnas ddaearol oedd hyd yn nod y dysgyblion yn ddysgwyl hyd yn hyn, ond canfyddodd y lleidr hwn yn mhellach ac yn eglurach na neb o honynt. Credai ef ei fod yn frenin yn nghanol ei waradwydd a'i dlodi. Mae gan Dduw ei dystion yn mhob oes ac adeg, ond yr oedd y tystion wedi rhedeg i lawr i un yn unig yr awr hono. "Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys," oedd ateb grasol yr Arglwydd Iesu i'w weddi. Fel hyn pan yn marw ei hun, efe a waredodd rhag angau; pan yn nyfnder ei dlodi, cyfranodd gyfoeth anmhrisiadwy; pan ydoedd efe ei hun yn wrthodedig ar y ddaear, agorodd ddrws y nefoedd i un oedd yn ymddiried ynddo ef am ei fywyd.

Yr adeg hon ymwthiodd mam yr Iesu, yn ngrym ei serch, trwy y dorf fawr o wawdwyr a dirmygwyr mor agos ag y goddefid iddi at y groes, er fod yr olygfa megys brath cleddyf i'w henaid. Mor gywir i natur ydyw yr hanes, a'r fath esboniad prydferth ar ffyddlondeb mam ydyw. Ni welwyd mam, os byddai yn deilwng o'r enw, yn ymwrthod a'i phlentyn yn ei gyfyngder. O herwydd fod y Pabyddion yn myned i'r eithafoedd ynfyd o addoli Mair forwyn, yr ydym ninau

wrth geisio gochelyd eu camwedd hwy, yn dueddol i roddi pris rhy isel ar nodweddiad prydferth y wraig rinweddol hon. Canfyddodd yr Iesu ei fam, yr hon, efallai, oedd yn ymgynal ar bwys eu cyfaill ieuanc Ioan. Wrth ei fam efe a ddywedodd, "O, wraig, wele dy fab," gan gyfeirio ei lygaid at Ioan; yna dywedodd wrth Ioan, "Wele dy fam." Dymunai fel hyn ar Ioan, er ei fwyn ef, ofalu am ei fam fel pe buasai yn fam iddo ei hun, am y gweddill o'i hoes. Nid oes lle i ameu na ddarfu i Ioan gyflawni dymuniad ei Arglwydd yn ffyddlon. Gellid meddwl i Ioan ei chymeryd yn y man oddiwrth y groes i ryw le oedd ganddo yn y ddinas. Er fod gan Mair berthynasau, chwiorydd, ac efallai feibion, a fuasent yn gofalu am dani, eto nid oedd neb yn y byd mor gymwys i hyn ag Ioan, a diau ei bod hithau yn prisio y berthynas newydd yn fawr.

Wedi i'r Arglwydd Iesu fod yn hoeliedig ar y groes am dair awr, sef o naw o'r gloch y boreu hyd ddeuddeg, a phan oedd yr haul yn uchder y ffurfafen, a bron yn union-syth uwchben Jerusalem, tywyllodd yr holl nefoedd, a hyny mewn moment, dybygwn—trodd haner dydd yn haner nos. Parhaodd y tywyllwch hwn am dair awr, sef o haner dydd hyd dri o'r gloch prydnawn. Erbyn hyny yr oedd yr Arglwydd Iesu wedi dyoddef digon i brynu byd colledig—i roddi Iawn difai i Dduw dros bechod dyn, a llefodd y gair "Gorphenwyd," ac yn fuan gogwyddodd ei ben gan gan roddi i fyny yr ysbryd. Y fath ymddarostyngiad! Mab Duw yn groeshoeliedig fel llofrudd a lleidr! Teyrn angylion yn trengu ar y pren melldigedig! Paham? A ydyw yn bosibl fod yr hanes yn wir?

Ydyw yn ddigon gwir. Dyma ryfeddod y groes, dyma ddirgelwch trefn y prynedigaeth, ddarfod i "Grist, pan oeddym ni eto yn weiniaid, mewn pryd farw drosom, fel trwy farwolaeth y dinystriai efe yr hwn oedd a nerth marwolaeth ganddo." Yr oedd natur fel pe buasai yn meddu bywyd a theimlad!—y ddaear yn crynu ar ei sylfaeni, nes oedd y creigiau celyd yn hollti! y meirw yn cyffroi ac yn deffro yn ngwaelodion eu beddau! llen y deml yn ymrwygo oddi fyny hyd i waered, gan amlygu i oleu dydd holl ddirgelwch y cysegr sancteiddiolaf, gan arddangos yn eglur i'r byd fod sylwedd yr holl gysgodau wedi ymddangos, a'r cysgodau eu hunain wedi cilio am byth! Gyda pharch y dywedwn yn ddystaw ac addolgar, pe buasai yn bosibl edrych i mewn i nef y nefoedd y foment arswydlawn hono, cawsem weled pob angel a seraph yn dystewi ei delyn, yn atal ei anadl mewn pryder; y Jehofa ei hun a'i feddwl anfeidrol wedi ei lenwi â myfyrdod ar yr amgylchiad! Dydd mawr oedd dydd croeshoeliad Mab Duw, ac nid yn Jerusalem a gwlad Canaan, nac yn ein byd bach ni yn unig ychwaith. Yr oedd yn ddiwrnod na bu ei fath cyn nac wedi hyny, ac ni bydd byth ei fath trwy holl lywodraeth eang y Jehofa. Os oedd preswylwyr yn y milfil bydoedd sydd ar daen trwy yr eangderau, nid oedd cymaint ag un o honynt heb gael clywed y newydd. Beth, dienyddiad mab y Brenin yn ddisylw a di-son am dano yn mysg ei ddeiliaid ffyddlawn, teyrngarol? Pur annhebygol yn sicr. Ond beth ydoedd hyny i neb ond i ddynion, preswylwyr ein daear ni—hiliogaeth syrthiedig Adda? Yn araf, mwy nag a wyddost ti na minau ydyw hyny; llawer iawn tebycach fod

trigolion dirif y gwahanol fydoedd yn teimlo dyddordeb yn ei angau Ef. Os nad oedd yn Iawn drostynt, yr oedd yn rhywbeth iddynt er hyny. Eu crewr, eu cynaliwr, a'u teyrn, yn cael ei groeshoelio, a hwy yn anhysbys o'r angylchiad! Nid ydyw yn debyg mewn un modd. Pe byddai i un o'r pentrefi bychain salw ar un o draethau Cymru godi gwthryfel yn erbyn y llywodraeth Frytanaidd, buan y gwelid holl rym y llywodraeth yn cael ei alw allan, a phe wedi gorchfygu dal a chondemnio y troseddwyr, y byddai i fab y frenines roddi ei fywyd yn aberth i'r llywodraeth er achub bywydau y bradwyr, oni ehedai y newydd gyda chyflymder y fellten i eithafoedd India y Dwyrain? Os rhoddodd yr Iesu ei fywyd i lawr ar Galfaria yn aberth i Dduw dros bechod dyn, oni chludwyd y newydd gan genadon cyflym dros holl derfynau llywodraeth Duw cyn machlud haul y nos hono? A thybiwn y gallesid clywed bloedd ar ol bloedd o fawrhad a mawl yn dyrchafu i'w enw.

Wedi i'r ddyled fawr gael ei thalu, i gyfiawnder gael ei lawn foddloni, ac i alluoedd y tywyllwch gael eu llwyr orchfygu, dangosodd yr haul ei wyneb siriol eilwaith, daeth holl anian megys ati ei hunan, gan fyned yn mlaen yn ei chylch fel arferol. Rhaid fod y golygfeydd arswydlawn hyn wedi effeithio yn ddwys ar yr edrychwyr er mor galed oeddynt, a chawn fod rhai o honynt yn ymguro mewn gofid a braw pan yn dychwelyd o Golgotha. Tebygol mai dyben y tywyllwch a'r cynwrf trwy holl anian, ar un llaw ydoedd, rhoddi tystiolaeth eglur, ddiameuol, o fawredd person y dyoddefydd. Yr ydoedd, ar y llaw arall, yn ddiau, yn rhywbeth i feddwl y dyoddefydd ei hunan. Nis

gallwn ei ystyried yn arwydd o wg a digofaint Duw, oblegid buasai hyny yn anghydweddol â gwaith y dydd y cafodd Duw ei lwyr foddloni arno. Dywedir i lawer o gyrff y saint a hunasant gyfodi o'u beddau, ar ol adgyfodiad Crist, a myned i mewn i Jerusalem. Pwy oeddynt, a beth ddaeth o honynt wedi hyny, ni hysbysir i ni. Anhawdd ac annaturiol ydyw i ni synied iddynt fyned yn ol i'w gwelyau oerion yn y ddaear Un amcan mewn golwg yn adgyfodiad y saint hyn oedd rhoddi un prawf yn ychwaneg i'r genedl mai yr Iesu ydoedd y Crist. Yr oedd yn arddangosiad hefyd fod marwolaeth Crist yn effeithio yn rymus yn myd yr ysbrydoedd.

Byddai y croeshoeliedig yn byw weithiau ar y groes o dri i bum diwrnod, ac ar droion cyhyd a saith niwrnod, cyn i angeu roddi terfyn ar eu poenau. Ond yn ol deddf Moses, ni oddefid gadael corff dyn yn grogedig dros y Sabboth, ac o achos hyn aeth yr Iuddewon at Pilat i ofyn caniatad i brysuro marwolaeth y tri, a chymeryd eu cyrff ymaith o'r golwg. Pan dderbyniodd y milwyr y gorchymyn hwn, aethant yn gyntaf at y ddau leidr a churasant hyny o fywyd oedd ynddynt allan o'u cyrff. Ond wedi dyfod at yr Iesu, canfyddasant yn eglur ei fod eisoes yn hollol farw, felly ni "thorwyd asgwrn o hono." Eithr darfu i un o'r milwyr, o wir hoffder at greulondeb a gwaed yn unig, feddyliem, ei wanu yn ei ystlys â gwaewffon, "ac yn y fan rhedodd allan waed a dwfr." Gwna yr efengylwr Ioan sylw arbenig o hyn, fel pe byddai ganddo ryw amcan neillduol yn adroddiad y ffaith.

Yn awr daeth y ddau foneddwr, sef Joseph o Arimathea a Nicodemus, yn mlaen, ac wedi cael caniatad

gan y rhaglaw, cymerasant feddiant o gorff yr Arglwydd Iesu. Ni ddaethant fynyd yn rhy fuan, gallwn feddwl, oblegid mewn ychydig amser buasai yn cael ei lusgo gan y milwyr gyda chyrff y ddau leidr, a'i daflu yn anmharchus i'r pridd yn un o gladdfeydd cyffredin y ddinas. Mae gradd helaeth o dywyllwch yn daenedig dros hanes y ddau wr da hyn. Bernir yn gyffredin eu bod yn aelodau o'r Sanhedrim. Paham ynte na buasent yn amddiffyn yr Iesu yn y Cyngor? Os oeddynt yn wir ddysgyblion iddo, paham na buasent yn cyffesu hyny? Ond byddwn yn dyner wrthynt. Gwnaethant wasanaeth pwysig mewn adeg nad allasai neb ond dynion o ddylanwad fel hwy ei wneuthur. Ofer fuasai i'r dysgyblion geisio cael meddiant o'r corff, a pha beth a wnaethent o hono wedi ei gael?

Pan ddaeth y ddau i Golgotha, ymddengys fod y cyfan drosodd, a'r torfeydd wedi chwalu; ond yr oedd yno ryw bedair o wragedd ffyddlawn yn aros i weled beth wneid i'r corff, ac mae yn debyg fod Ioan hefyd yno. Cymerodd y ddau bendefig urddasol gorff yr Iesu i lawr gyda'r gofal a'r tynerwch mwyaf, gan ei amdoi mewn llieiniau llawn o bearoglau. Yna cludasant ef i ardd oedd gan Joseph yn agos i'r lle, yn yr hon yr oedd bedd newydd, naddedig yn y graig. Yno dodasant y corff yn ofalus, a threiglwyd y maen a barotoisid dros enau y bedd. Rhaid oedd iddynt wneyd hyn oll gyda brys, gan fod darpar-wyl yr Iuddewon mor agos. Ond gwnaethant y gorchwyl yn briodol, a bydd eu henwau yn beraroglaidd byth o herwydd y weithred hon o'r eiddynt. Mae yn esmwythâd i'r meddwl i ystyried mai mewn gardd, ac nid mewn llecyn o dir llwm a disereh yr oedd y bedd. Diau fod

gardd y cyngorwr pendefigaidd wedi ei haddurno a'i gwneyd y lle mwyaf dymunol ag y gallasai celfyddyd a chyflawnder o gyfoeth ei gwneyd. Yr oedd yn ymyl prif ddinas y genedl, ac yn eiddo un o bendefigion mwyaf urddasol y genedl, a thebygol y byddai Joseph yn ymneillduo iddi gyda ei deulu a'i gyfeillion i fwynhau eu hunain ar hyd ei rhodfeydd, ac i orphwys dan gysgod ei llwyni. Diau mai yn y bedd y dodwyd yr Iesu y bwriadai Joseph dduwiol gael ei roddi i orphwys ei hunan hyd foreu mawr adgyfodiad y meirw. Gwyddom oll am y dymuniad dwfn sydd yn mhob mynwes am lanerch prydferth i gysgu yr hûn maith hwnw; a hoff hefyd yw y syniad o gael y rhai sydd anwyl genym i huno yn agos atom. Nid oedd Joseph, mwy na'r dysgyblion, yn meddwl yr adgyfodai yr Iesu mor fuan, a diau y dysgwyliai gael cydorwedd ag ef yn nghysgodau yr ardd hyd ganiad yr udgorn diweddaf.

Wedi y cynwrf mawr a'r gyflafan ddigyffelyb y dydd o'r blaen, gwawriodd y Sabboth fel arferol, a hunai corff archolledig yr Iesu yn dawel yn medd newydd Joseph o Arimathea. Ie, archolledig a gwaedlyd ydoedd mewn gwirionedd; yr oedd ei ben wedi ei frathu gan y goron ddrain, ei ystlys wedi ei thrywanu gan bicell y milwr, ei gefn wedi ei aredig yn gwysau hirion gan y fflangell, ei ddwylaw a'i draed wedi eu hanafu gan yr hoelion a gurasid trwyddynt i'w ddal wrth y groes. Mor llythyrenol y cyflawnwyd geiriau Esaiah, "Efe a archollwyd am ein camweddau ni; efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni." Yr oedd uffern wedi ei gorchfygu, pen y sarff, sef y diafol, wedi ei ysigo; eto mynai ei elynion dynol ei erlid hyd

y bedd ac i'r bedd. Aethai y gair ar led y byddai iddo adgyfodi y trydydd dydd. Pa un a gredai yr Iuddewon eu hunain yr ystori ai peidio, mae yn anhawdd gwybod, ond modd bynag aethant at Pilat, a hyny ar y Sabboth, feddyliem, er cael ganddo warchlu o filwyr i wylio y bedd nes elai y tri diwrnod heibio. Eu hesgus dros hyn oedd, rhag i'w ddysgyblion ddyfod o hyd nos a lladrata y corff, a dywedyd mai wedi adgyfodi yr oedd. Mae yn eglur iawn fod gan rywun uwch na hwy law mewn trefnu i'r milwyr Rhufeinig hyn ddod i warchod bedd ein Gwaredwr, fel y ceid tystiolaeth sicr a diduedd i'r oesoedd a ddelai am ei adgyfodiad, yr hyn ydyw sylfaen ffydd y saint trwy yr holl oesoedd.

Rhoddwyd yr Iesu yn y bedd nos Wener, a bu yno yn gorwedd dros ddydd Sadwrn, y Sabboth Iuddewig, ac hyd yn agos i doriad y wawr foreu y dydd cyntaf o'r wythnos, sef boreu ein Sabboth ni. Ymddengys fod y dysgyblion yn gwbl anobeithiol, wedi eu syfrdanu gan yr ergyd. Nid oeddynt wedi meddwl na dychymygu erioed am y fath ddymchweliad a hwn. Yr oedd eu holl obeithion am waredigaeth i Israel a sefydliad y deyrnas y siaradent gymaint am dani, wedi eu claddu gyda eu hathraw yn y bedd. Eu Meistr mawr ydoedd canolbwynt eu holl obeithion, ac wedi ei golli ef yr oeddynt wedi llwyr ddigaloni. Ond yr oedd pedair o wragedd duwiol, sef Mair Magdalen, Mair mam Iago, Salome, a gwraig goruchwyliwr Herod, wedi aros yn ngolwg y groes tra bu yr Iesu yn hoeliedig arni, wedi cadw llygad ar Joseph a Nicodemus yn ei dynu i lawr, ac wedi eu dylyn at y bedd, a'u gweled yn rhoddi maen mawr ar ei enau cyn troi tu-

ag adref. Gwyddent am y brys a'r teimlad cyffrous yr oedd y ddau bendefig ynddo yn amser y claddedigaeth, a dymunent ail-drefnu y corff a'i eneinio a'u dwylaw eu hunain, cyn ei adael i orphwys hyd foreu mawr adgyfodiad y meirw, fel y tybient hwy. Ni oddefai eu teimladau crefyddol iddynt wneuthur hyn ar y Sabboth, ond y foment yr aeth y dydd sanctaidd drosodd, parotoisant at y gorchwyl, gan brynu peraroglau, fel y byddai pob peth yn barod ganddynt at y gwaith pruddaidd ar doriad y wawr dranoeth. A chyn ei bod wedi goleuo, y dydd cyntaf o'r wythnos, yr oeddynt yn ngardd Joseph ac wrth y bedd.

---

## PENNOD XXV.

*Yr adgyfodiad—Ei wahanol ymddangosiadau, ac amgylchiadau y deugain niwrnod—Yr esgyniad.*

Pan oedd y gwragedd sanctaidd ar y ffordd o'r ddinas at fedd yr Iesu, ymddyddanent yn bryderus a'u gilydd, pwy a gaent i symud y maen ymaith; ond wedi iddynt gyraedd yr ardd, a'u bryd yn llawn ar eu hamcan caredig, canfuent er eu syndod fod y maen eisoes wedi ei symud, a bod corff eu Harglwydd wedi ei symud hefyd, fel y tybient hwy. Mae yn eglur na wyddent ddim am y gwarchlu a osodasid gan Pilat i wylio y bedd, onide buasai hyny yn dod i'r golwg yn eu hymddyddan ar y ffordd. Ni fuasent yno àr ol hwyr y croeshoeliad. Ni wyddent ychwaith am yr helynt y buasai y milwyr ynddo o herwydd y ddaeargryn ac ymddangosiad yr angylion. Yr oedd y cyfan wedi

myned drosodd, a phobpeth yn dawel cyn iddynt hwy gyraedd yr ardd; y milwyr wedi dod atynt eu hunain ar ol eu dychryn mawr, ac wedi gadael y lle a myned i'r ddinas i ddyweyd wrth yr awdurdodau.

Wedi cael yr olwg hon ar bethau, mae Mair Magdalen, yr hon dybygem wrth yr hanes, oedd ieuengach na'r llall, yn prysuro yn ol i'r ddinas i hysbysu Pedr ac Ioan. Y ddau hyn yn unig oedd wedi dylyn yr Iesu trwy ei brawf, ac yr oedd Ioan, beth bynag am Pedr, wedi dylyn yr Iesu at y groes, a sefyll wrthi trwy y dydd, oddieithr ychydig amser i gymeryd mam yr Iesu ymaith o Galfaria. Yr oedd y ddau yn rhywle yn y ddinas lle y gwyddai Magdalen am danynt. Wedi iddi hi fyned ymaith chwiliodd y gwragedd eraill yn fanylach, ac edrychasant i mewn i'r bedd, a chanfuent yr amdo a'r llieiniau wedi eu plygu yn drefnus o'r neilldu, ac ar y foment ymddangosodd angylion iddynt, y rhai a ddywedent fod eu Harglwydd wedi adgyfodi. Fel y gellid dysgwyl, brawychodd hyn y gwragedd yn ddirfawr. Er yr oll a allai y pendefigion angylaidd hawddgar a diniwed ddweyd na gwneyd i'w tawelu, gadawsant hwythau yr ardd yn ebrwydd, gan brysuro i'r ddinas i chwilio am y dysgyblion, a chario y newydd iddynt. Ar eu ffordd o'r ardd cyfarfu eu Harglwydd ei hun hwy, gan eu cyfarch yn siriol. "Henffych well," meddai—gair yn arwyddo pob iechyd naturiol ac ysbrydol, pob cysur a phob daioni. "A hwy a ddaethant ac a ymaflasant yn ei draed ef, ac a'i haddolasant. Yna dywedodd yr Iesu wrthynt, Nac ofnwch, ewch a mynegwch i'm brodyr, fel yr elont i Galilea, ac yno y'm gwelant." Gydag i'r gwragedd duwiol adael yr ardd, daeth Pedr

ac Ioan, wedi eu hysbysu gan Mair Magdalen fod y corff wedi ei symud, i'r lle. Rhedodd Ioan, yr hwn yr ydym yn arfer meddwl a siarad am dano fel dyn ieuanc heinyf, o flaen Pedr, a daeth yn gyntaf i'r ardd, a safai o'r tu allan i'r bedd. Yn fuan cyrhaeddodd Pedr y fan, ac a aeth rhag ei flaen i'r bedd, ac Ioan ar ei ol, a gwelsant mai gwir oedd y gair fod corff eu Hathraw wedi ei symud. Nid oeddynt hwythau, mwy na'r gwragedd, wedi dysgwyl na meddwl am adgyfodiad ein Harglwydd, er mor glir ac mor aml y dywedasai am hyny wrthynt. Ond pan welodd Ioan y napcyn a'r llieiniau wedi eu gosod yn drefnus, yn debyg fel y gwelir un yn trefnu ei nos-wisg cyn gadael ei ystafell wely, tywynodd goleuni fel y fellten i'w feddwl fod yr Arglwydd wedi adgyfodi yn wir. Aeth y ddau ymaith oddiwrth y bedd, ac yn fuan dychwelodd Mair Magdalen wrthi ei hunan. Nid oedd hi yn gwybod dim am y weledigaeth o angylion a welsai y gwragedd eraill, a safai oddi allan i'r bedd yn wylo yn dorcalonus. Ymddengys yn yr hanes fod cwpan Mair Magdalen yn fwy ac yn llawnach o alar ar ol ei Harglwydd nag eiddo neb arall o holl gylch ei ganlynwyr. Yr oedd efe wedi bwrw saith cythraul o honi, wedi ei hachub a'i chodi o'r sefyllfa fwyaf truenus, i fod yn gysurus a dedwydd. Gallwn hefyd feddwl ei bod yn ferch yn meddu ar gyfoeth a lledneisrwydd ymddygiad. Cymerasai y waredigaeth fawr hon iddi le yn gynar yn adeg gweinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu, ac ymddengys iddi hi ac amryw wragedd parchus a chyfoethog ei ganlyn byth ar ol hyny. Hwyrach yr ofnai Mair yn awr, wedi colli ei gwaredydd a'i hamddiffynydd galluog, y buasai y saith hyny yn ei dar-

ostwng drachefn dan eu llywodraeth, ac yr oedd yn cael ei llethu o dan bwys ei galar. Ond yr oedd ei serch, hyd yn nod at gorff marw ei Hathraw, yn llosgi mor glir ag erioed.

Fel yr oedd hi yn wylo, hi a ymostyngodd i'r bedd i gymeryd un olwg yn rhagor ar y man y buasai ei Harglwydd yn gorwedd. Yno cafodd olygfa y gallesid meddwl fuasai yn tynu ei sylw oddiwrth bob peth arall. Ymddangosodd iddi ddau angel, un yn eistedd wrth ben ac un wrth draed lle buasai y corff, a dywedasant wrthi, "Wraig, paham yr wyt ti yn wylo?" Ond methai gwedd a llais hyd yn nod angylion Duw, symud ei meddwl am foment oddiar wrthrych ei serch a'i hiraeth. Nid oedd gan Mair na syndod na chyffro i'w hebgor arnynt—atebai hwynt yn fyr a digynwrf, fel rhai nad oeddynt iddi hi yn teilyngu nemawr o sylw. "Am ddwyn o honynt fy Arglwydd i ymaith, ac ni wn pa le y dodasant ef." Diameu genym y buasai mwyneidd-dra eu gwedd a'u llais yn ddigonol i'w swyno o dan unrhyw amgylchiad arall, eithr, yn awr nid oeddynt yn cael yr effaith leiaf arni. Ond wele yr un gofyniad yn cael ei ofyn iddi o enau arall yn ebrwydd, "O, wraig, paham yr wyt yn wylo?—pwy yr wyt ti yn ei geisio?" Trwy ei dagrau canfyddai y person oedd yn gofyn, eithr ni ymddengys iddi wneyd mwy o sylw o hono nag o'r angylion. Nid ydoedd yn gwbl o flaen ei hwyneb, feddyliem, ac ni ofalai hithau ond ychydig am dano. Cymerai ef fel un nad oedd eisiau dweyd wrtho paham yr oedd yn wylo, ac un yn gwybod i ba le yr oedd corff ei Harglwydd wedi ei gymeryd. Tybiai mai y gwr oedd yn edrych ar ol yr ardd ydoedd. Yr oedd hi fel yn foddlon i gredu nad

oedd un amcan brwnt wrth ei gymeryd ymaith, a'r oll a geisiai ydoedd gadael iddi hi wybod i ba le y symudasid ef, fel y gallasai hi ei gymeryd ymaith. Ar hyn galwodd yr Arglwydd hi wrth ei henw, yr hyn a'i dygodd ati ei hunan yn y man. Yn gwbl anghofus o'r amgylchiadau dyeithr yr oedd yn eu canol, hi a brysuiodd ato, ac yr oedd ar fedr cofleidio ei draed, pryd y gwaharddodd hi yn benderfynol, gan ddweyd, "Na chyffwrdd a mi, Mair, oblegid ni ddyrchefais i eto at fy Nhad." Goddefodd i'r gwragedd eraill wneyd hyny, eithr ni oddefai i Mair. Paham, nis gallwn ddirnad. Ond mae y dirgelwch hwn yn cydweddu â holl hanes y deugain niwrnod ar y ddaear ar ol ei adgyfodiad. Y mae mwy o ddirgelwch yn toi y cyfnod hwn o oes ein Gwaredwr nag un adeg arall. Paham yr arosodd cyhyd ar y ddaear wedi gorphen ei waith? Paham y gadawodd i'r nefolion ddysgwyl cyhyd cyn iddo gymeryd ei le ar ddeheulaw Duw? Pa wasanaeth allasai hyn fod i'w eiddo yn y byd? Pa le a pha fodd y treuliai yr amser hwn?

Nis gallwn gyrhaedd llawer o sicrwydd mewn perthynas i'r pethau hyn; nid difudd er hyny ydyw ymholi pa beth oedd yn ei gadw i lawr yma cyhyd a chwech wythnos o amser. Nid y prif amcan, na'r penaf, dybygem, oedd rhoddi prawf digonol o'i adgyfodiad. Gallasai wneyd hyny mewn dau ddiwrnod cystal ag mewn deugain. Hefyd pe hyny fuasai ei brif amcan, paham nad ymddangosasai yn fwy aml, a hyny yn fwy agored a chyhoeddus? Y mae bychander nifer, yn nghyda byrdra amser ei ymddangosiadau, yn cau y syniad hwn allan. Ni welwyd ef ond deng waith o gwbl, a phum' gwaith o'r deg y diwrnod yr

adgyfododd. Chwe' diwrnod o'r deugain y gwelwyd ef gan neb dynion; ac yn ol gwedd yr hanes, ni roddodd dros gynifer a hyny o oriau o'i gymdeithas yn y cwbl. Traddodai ychydig frawddegau, yna diflanai o'r golwg gyda chymaint o ddirgelwch ag yr ymddangosai. Yr oedd fel pe yn amcanu gochelyd cymdeithasu yn rhydd a chyfeillgar â'i ganlynwyr, fel yr arferai gynt; gyda y byddent wedi cael llawn sicrwydd a boddlonrwydd i'w meddyliau a'u calonau mai efe ei hun ydoedd, gadawai hwy. Pa argraff oedd yn naturiol i'r pellder hwn a gadwai oddiwrthynt wneyd ar feddyliau ei ddysgyblion? Ceisiwn roddi ein hunain yn eu lle ar yr adeg hon, a chofier nad oedd un o honynt yn flaenorol i'w farwolaeth wedi gallu ymgodi i synied yn glir a phriodol am ddwyfoldeb ei berson. Yr oedd yn awr yn bryd eu diddyfnu oddiwrth eu syniadau daearol a chnawdol am dano. Ar ol blynyddoedd o gymdeithas agos ag ef, yr oeddynt heb gael eu dyrchafu i gredu fod yr hwn yr oeddynt yn cyfeillachu ag ef yn Arglwydd nef a daear. Yr oedd yn angenrheidiol cynyrchu ynddynt feddwl mwy dyrchafedig am eu hathraw, a hyny heb ddinystrio y syniad clir am ei wir ddynoliaeth. Gallwn fel hyn ddeall rhyw beth am y gorchwyl anhawdd ond gwir angenrheidiol hwn yr oedd efe yn ei gyflawni trwy y dull dyeithr yma o ymwneyd â hwy dros y deugain niwrnod. Yr oedd yn anhebgorol i'r dysgyblion dderbyn argraff deilwng ar eu meddyliau a'u calonau am ei ddwyfoldeb, cyn iddo eu gadael.

Nodweddid holl oes gyhoeddus yr Arglwydd Iesu gan hynodrwydd arbenig, yr hyn a'i gwahaniaethai oddiwrth bawb eraill fel dyn, ac a'i gosodai yn hollol

ar ei ben ei hun. Mae pob dyn, pa mor uchel bynag y gall fod yn ngolwg ei gyd-ddyn, yn disgyn yn radd-ol fel y deuwn i gydnabyddiaeth agosach ag ef. Daw gwendidau a brychau i'r golwg po agosaf y deuwn ato. Ond yn gwbl wrthwyneb i hyn yr ydoedd gyda'r Iesu. Bu am dair blynedd o leiaf yn y cysylltiad ag-osaf a'i ddysgyblion, fel eu brawd, cyfaill, cyd-deith-ydd a gwesteiwr, ac yn cael ei weled ganddynt dan bob math o amgylchiadau yn ei fywyd cymdeithasol a'i weinidogaeth gyhoeddus. Gallesid dysgwyl y bu-asai ei dymer yn cael ei chynyrfu ar adegau gan y rhwystrau, y gwrthwynebiad a'r sarhad personol a deflid i'w ran gan ei elynion. Ond bob amser ym-ddyrchafai uwchlaw pethau o'r fath, a thynai at ei ber-son y parch mwyaf cysegredig. Yr oedd cyfeillach rydd, dawel, â'r Iesu dan amgylchiadau cyffredin bywyd, yn lle ei iselu, yn ei ddyrchafu a'i ddwyfoli yn ngolwg ei ddysgyblion. Ar y cyntaf, Iesu o Nazareth, mab Joseph, ydoedd yn eu golwg. Yn nesaf desgrif-ient ef yn siarad fel un ag awdurdod ganddo, ac nid fel yr ysgrifenyddion. Bob yn ychydig fe ddaethant i ddychymygu mai Elias ydoedd, neu un o'r proffwydi mawreddog wedi dychwel i'r ddaear. Yr un modd gyda ei elynion hefyd. Ar y dechreu edrychent arno gyda dirmyg, ond cyn hir ymholent pa le y cawsai y fath ddysgeidiaeth fel ymadroddwr ac athraw cyhoeddus. Yn ddylynol i hyn, anfonodd y penaethiaid swyddogion i'w ddal, ond pan glywodd y rhai hyny ef yn llefaru, llanwyd hwy â braw, a pharch-edigaeth tuag ato—"Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn," meddynt. A phan ddaethant gyda byddin o wyr arfog i'w ddal, gorfu iddynt gilio yn ol mewn

dychryn pan aethant wyneb yn wyneb ag ef. Crynai y rhaglaw Rhufeinig pan ddaeth mewn gefynau o'i flaen, a hyny yn benaf o herwydd ei ddystawrwydd urddasol; ac wedi cyflawni y gyflafan angeuol arno, cawn y torfeydd yn dychwelyd o Golgotha gan guro eu dwyfronau gan fraw. Fel hyn yn hanes yr Iesu, cawn yr hyn sydd yn gyffredinol i ddynoliaeth yn cael ei droi yn hollol i'r gwrthwyneb ynddo Ef.

Yr oedd fel hyn wedi ymddyrchafu yn uchel yn ngolwg a theimladau ei ganlynwyr, eto yr oeddynt yn annhraethol fyr o feddu amgyffred teilwng am fawredd ei berson, ac yr oedd yn wir angenrheidiol eu dyrchafu yn uwch cyn iddo eu gadael. Meddylier am foment fod yr Iesu wedi mabwysiadu rhyw gynllun arall at ddwyn hyn oddiamgylch. Tybier ei fod, ar ol ychydig ymddangosiadau eglur o hono ei hun, digonol i symud pob amheuaeth am ei adgyfodiad, yn gadael y ddaear, a bod disgyniad yr Ysbryd Glan yn dylyn yn ebrwydd a deall yr apostolion yn cael ei agor i ganfod yn glir y gwirioneddau mawrion am eu Hathraw a'u Harglwydd; oni buasai yn dra pheryglus gyda yr holl ogoniant hwn yn amgylchynu ei berson, i'r dyn Crist Iesu gael ei golli ganddynt yn y Duwdod? Nid hawdd fuasai i lawer un foddloni eu meddyliau wedi ei esgyniad ar ddeheulaw Duw, ei fod yr un Iesu Grist, yn gyfaill calon ac yn frawd iddynt. Drachefn, pe buasai iddo, ar ol ei adgyfodiad, ddychwelyd yn ebrwydd i'r un dull o fyw a chynt—pe buasai iddo am ddeugain niwrnod eu harwain drachefn ar hyd ei hen lwybrau tua Galilea, gan aros diwrnod neu ddau yn Bethania, gyda Martha, a'i chwaer, a Lazarus, oni buasai hyn a thuedd gref ynddo i gymylu ei Dduwdod, ac i beri i'w ddysgybl-

ion drachefn ei adnabod yn unig yn ol y cnawd? A allwn ni synied am ffordd mor briodol i ateb ansawdd ysbrydol ei ganlynwyr, a'r ffordd a gymerodd y Gwaredwr? Mor hynod briodol ydoedd fel yr arweiniodd hwy yn raddol ac heb un trais o'u syniadau niwliog ac anghywir, i ystad o oleuni uwch, purach, a chliriach am dano ei hun fel Duw-ddyn. Fel hyn adeiledid eu ffydd yn nwyfoldeb ei berson ar y ffydd oedd ganddynt yn flaenorol ynddo fel gwir ddyn. Cyfrodeddid y ddwy natur i'w gilydd, heb i'r naill guddio y llall trwy eu hundeb. Gyda hyn o sylw awn yn ol at y bedd yn yr ardd, lle yr oedd Mair Magdalen yn aros.

Wedi yr ymddyddan â Mair, a gofnodwyd eisoes, dywedodd yr Iesu wrthi, "Dos at fy mrodyr, a dywed wrthynt, Yr wyf yn dyrchafu at fy Nhad i, a'ch Tad chwithau, a'm Duw i, a'ch Duw chwithau." Yn cyfateb i'r cyfnewidiad rhyfeddol hwn cawn fod ymadroddion yr efengylwyr yn newid ar ol yr adgyfodiad. "Ymddangos" a ddefnyddir heb un eithriad; yr un gair ag a ddefnyddid dan yr Hen Destament am ymweliadau angylion sanctaidd. Diau mai nid yn ddamweiniol y gwnaed y cyfnewidiad hwn yn iaith yr efengylwyr. Nid oedd yr angylion yn weledig ond pan fyddai galwad arnynt i ymddangos, ac felly, dybygwn, am ein Gwaredwr—gwneyd ei hun yn weledig yr oedd efe yr holl droion hyn i'w ddysgyblion. Yr oedd yr anweledig wedi llyncu y gweledig iddo ei hun. Y dydd yr adgyfododd yr Arglwydd, hysbysir fod dau o'i ddysgyblion yn myned tuag Emmaus, pentref ychydig filldiroedd o Jerusalem, ond nid yw ei gyfeiriad yn hysbys. Nid oedd y ddau hyn o nifer y deuddeg—Cleopas ydoedd un o honynt, a dywed traddod-

iad ei fod yn briod â chwaer Mair mam yr Iesu. Pa un bynag am hyn, diau mai nid un berthynas naturiol wnaeth i'r Iesu dalu y sylw hwn iddynt. Yr oedd pob cysylltiad felly wedi darfod rhwng yr Iesu a'i holl berthynasau agosaf yn ol y cnawd. Nid ydym yn cael i'w fam ei hun gael cymaint a golwg arno ar ol ei adgyfodiad. Dichon y gall ymadrodd cyntaf yr Iesu wrthynt roddi rhyw syniad am yr achos iddo dalu cymaint sylw i'r ddeuddyn syml hyn. Wedi cydgerdded â hwy ryw gymaint o ffordd, gofynodd iddynt, "Pa ryw ymadroddion yw y rhai hyn yr ydych yn eu bwrw at eu gilydd, dan rodio, ac yn wynebdrist." Dangosai yn y modd mwyaf didramgwydd i'r ddau deithydd ei fod yn teimlo dyddordeb yn eu hachos. Y tristwch hwnw oedd yn llenwi eu calonau oedd yn at-dynu yr Iesu atynt. Gwyddai ef yn brofiadol beth ydoedd bod ei hunan dan lwyth o hono yn fynych. Wele ef yn yr achos hwn, fel gyda Mair a Pedr, yn ymgymeryd â'r swydd o Ddyddanydd, i rwymo y rhai ysig eu calon. Cawn yn y rhai hyn dri math o dristwch a galar—Mair, a'i chalon yn llawn o garedigrwydd a diolchgarwch, yn galaru ar ol un anwyl iawn ganddi; Pedr, a'i ysbryd wedi ei ddryllio gan edifeirwch, o herwydd y pechod a gyflawnodd; a'r ddeuddyn hyn, wedi eu siomi a'u dyrysu nes eu gyru i anobaith, ac anghrediniaeth bron. Nesaodd yntau atynt yn llaw tosturi a chariad, i'w cysuro a'u rhoddi ar yr iawn ffordd i ddod allan o afaelion eu gofidiau. Gellir i ryw radd roddi cyfrif am nad oeddynt yn ei adnabod, gan fod eu holl sylw ar destyn y siarad oedd rhyngddynt. Wrth ddarllen am wahanol ymddangosiadau y Duw-ddyn, gorfodir ni i gredu hefyd fod

rhyw gyfnewidiad wedi cymeryd lle yn ei wedd, digon i godi rhyw gymaint o ddyryswch yn y meddwl ai efe ydoedd; eto nid digon, ar ol craffu, i beri un amheuaeth. Canfyddir rhywbeth o byn yn hanes ei ymddangosiad yn yr ystafell yn Jerusalem, pan ymddangosodd i luaws yn nghyd. Er eu bod wedi clywed lawer gwaith yn ystod y diwrnod ei fod yn fyw, nid oeddynt wedi eu llwyr foddloni yn eu meddyliau nes iddo ddangos iddynt ôl yr archollion gafodd ar Galfaria, a bwyta hefyd yn eu gwydd. Yr un modd ar lan môr Galilea. Ni feiddiai neb ofyn iddo ai Efe ydoedd; ond amlwg yw fod amheuaeth yn bodoli. Drachefn cawn rai o'r pum' cant ar y mynydd yn Galilea yn ameu. A hyn yn mhell i brofi ei fod wedi myned o dan y cyfnewidiad rhyfedd hwnw o fod yn gorff anianol i fod yn gorff ysbrydol. Barna rhai mai yn raddol, yn yspaid y deugain niwrnod, y cymerodd y cyfnewidiad hwn le, ac fod hyn yn foddion i newid a dyrchafu meddyliau y dysgyblion oddiar y dynol i fyny at y Dwyfol.

Cawn ein Gwaredwr yn fynych yn gofyn cwestiynau i hwn a'r llall, nad oedd o un fantais iddo ef ei hun, ond o'r pwys mwyaf iddynt hwy; felly gyda y ddeuddyn hyn. Yr oedd ei diriondeb a'i gydymdeimlad yn gofyn, yn rhoddi ynddynt hyder ynddo, a theimlad da tuag ato, a dyna yntau ar dir manteisiol i'w haddysgu. Yna gafaelodd yn eu llaw megys, gan eu harwain o'u tywyllwch a'u dyryswch i ganol goleuni hyfryd, nes oedd eu calonau yn dychlamu o lawenydd. Pe gwybuasent pwy oedd eu haddysgwr, diau y buasai hyny yn eu cyffroi a'u hanghymwyso i dderbyn addysg. Onid yw hyn yn rhoddi gwedd hawddgar

a dymunol ar y Jehofah yn ddyn yn cymeryd cymaint o ofal gyda dau ddyn tlawd? Wedi gorphen ei waith, datguddiodd ei hun, ac yna diflanodd allan o'u golwg. Gallwn yn hawdd synied fod yr addysg a dderbyniasant ganddo wedi puro llawer ar eu meddyliau oddiwrth y daearol, mewn cysylltiad a'u Harglwydd, a'u dyrchafu at y dwyfol. Cawsant amgyffred am dano yn Dduw ac yn ddyn yn un person.

Yn lle aros yn Emmaus y nos hono, fel y bwriadent, prysurasant yn ol i Jerusalem, ac i'r lle y gwyddent fod yr un-ar-ddeg wedi ymgasglu. Dichon mai yr oruwch-ystafell lle y buwyd yn bwyta y pasg ydoedd, er nad oes genym sicrwydd o hyny. Pan ddaeth Cleopas a'i gyfaill i mewn, cawsant y cynulliad mewn ansawdd tra hynod, rhai yn credu adgyfodi o'r Iesu, a rhai yn methu credu. Adroddai y rhai oeddynt wedi gweled yr Arglwydd yr hanes yn fanwl drosodd a throsodd, er cael gan eu cyfeillion gredu y newydd da. Yna prysurodd Cleopas i adrodd eu hanes hwythau, ac fel y bu arnynt ar y ffordd ac yn y ty yn Emmaus, eithr disgynai y cyfan ar glustiau llawer o honynt fel chwedl rhy anhawdd i'w chredu; pryd y dywedai eraill, "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir." Ar hyn, yn ddystaw a disymwth, fel ysbryd heb daflu un cysgod o'i flaen, a'r drysau yn nghauad ac yn gloedig, ymddangosodd yr Arglwydd ei hun yn eu canol. Ei air cyntaf ydoedd, "Tangnefedd i chwi." Nis gallwn ystyried ei ddyfodiad i mewn fel hyn a'r drysau yn nghauad yn wyrth, ond yn beth naturiol i gorff ysbrydol. Gwir ei fod yn ddirgelwch i ni, ac felly rhaid ei ystyried a'i adael. Darfu i'w ymddangosiad daraw pawb yn y lle â braw; ond yn fuan trodd

yn llawenydd annhraethol, wedi i'r Duw-ddyn ddangos iddynt ôl yr hoelion a'r waewffon. Ond i gario y prawf yn mhellach, dangosodd y gallai gyfranogi o ymborth cyffredin, ac yn eu gwydd hwynt oll bwytaodd ddarn o bysgodyn a dil mêl. Yn raddol tawelodd y cwmni, a daeth i agwedd mwy priodol i allu gwrandaw arno, pryd y traddododd iddynt yr un gwirioneddau ag a ddysgodd i'r ddau ar y ffordd tuag Emmaus. Allan o Moses, y Salmau a'r Proffwydi, dysgodd hwy yn y gwirioneddau mawrion mewn perthynas iddo ei hun, ac yn benaf fod y Messiah i ddyoddef, marw, ac adgyfodi. Agorodd eu deall, fel y deallent yr Ysgrythyrau ar y gangen hon o athrawiaeth. Ond yr oedd eu deall eto yn glöedig mewn perthynas i amcan mawr yr efengyl o gyhoeddi heddwch i bell ac i agos trwy waed ei groes Ef. Yr oedd hyn i gael ei gadw hyd oni thywalltid yr Ysbryd Glan.

Dywedodd yr Arglwydd drachefn, "Tangnefedd i chwi." Pan ddywedodd hyny y tro cyntaf, yr oeddynt yn rhy gynhyrfus a dychrynedig i'w dderbyn i mewn; ond erbyn hyn yr oedd eu meddyliau wedi tawelu ac ymlonyddu mewn argyhoeddiad hyfryd fod yr Arglwydd yn wir wedi adgyfodi. Yr oedd yr ymadrodd, "Tangnefedd i chwi," yn gyfarchiad cyffredin yn mysg y genedl; ond rhag iddynt hwy ei gymeryd yn yr ystyr gyfyng, ffurfiol hon, dewisai dywys eu meddyliau yn ol dri diwrnod at yr hyn a ddywedasai yn yr oruwch-ystafell, "Yr wyf yn gadael i chwi dangnefedd; fy nhangnefedd yr wyf yn ei roddi i chwi; nid fel y mae y byd yn rhoddi yr wyf fi yn rhoddi i chwi. Na thralloder eich calon, ac nac ofned." Ac yn awr, yr oedd y tangnefedd hwnw wedi

ei sicrhau a'i selio trwy waed. Wedi dywedyd hyn, efe a anadlodd arnynt, gan ddywedyd, "Derbyniwch yr Ysbryd Glan." Mae yn eglur fod y weithred hon o anadlu yn llawn arwyddocad. Fel yr anadlodd Duw i ffroenau Adda anadl einioes, fel y daeth yn ddyn byw, felly yr oedd anadliad o eiddo y Duw-ddyn yn eu cymwyso hwythau i ymaflyd yn eu gwaith mawr. Dyma hefyd y pryd y llefarodd yr Arglwydd y geiriau hynod hyny, "Yn wir meddaf i chwi, pa beth bynag a rwymoch ar y ddaear a fydd rhwymedig yn y nef; a pha beth bynag a ryddhaoch ar y ddaear, a fydd wedi ei ryddhau yn y nef." Yr eglurhad goreu ar y geiriau hyn ydyw y comisiwn a roddwyd i ddau o broffwydi yr Hen Destament (Jer. 1: 9, 10, ac Ezec. 32: 17, 18). Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn rhoddi awdurdod i'w apostolion i faddeu, neu atal maddeuant pechodau dynion. Rhoddodd Duw awdurdod i'r ddau broffwyd dros genedl o bobl, i dynu i lawr a dinystrio, ac mae yn eglur fod y ddau gomisiwn yn gyffelyb. Yr oedd grym Jeremiah ac Ezeciel yn gwbl annigonol ynddynt eu hunain i ddymchwelyd cenedl; yr un modd yr oedd yr apostolion a swyddogion eraill yr eglwys yn gwbl annigonol i faddeu pechod na symud euogrwydd neb. Cyfyngid gallu y proffwydi i rybuddio, a chyhoeddi dinystr cenedl, yr hyn oedd i gael ei gyflawni gan fraich Duw Hollalluog; felly hefyd mae swyddogion yr eglwys yn ddinerth i weinyddu maddeuant pechod i neb, dim ond cyhoeddi maddeuant, a Duw oddiar ei orsedd yn y nef yn ei weinyddu.

Yr oedd un o'r dysgyblion, sef Thomas, yn absenol o'r cynulliad hwn, a da genym ar un ystyr nad oedd

yn bresenol, oblegid bu ei absenoldeb yn achlysur i ddwyn i'r golwg wirionedd pwysig am amynedd a daioni anfeidrol y Duw-ddyn, a hyny pan oedd newydd gael i'w law fel Cyfryngwr bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear. Yr un oedd efe wedi ei ddyrchafiad a phan yn nyfnder ei ddarostyngiad. Byddai yn bur naturiol gofyn, a oedd Thomas i'w feio am fod yn absenol o'r cyfarfod hwn ar hwyr dydd adgyfodiad yr Arglwydd Iesu? Mae yn eglur nas gellir rhoddi yn ei erbyn esgeuluso ei gydgynulliad yn yr un ystyr ag mae aelodau eglwysig yn awr yn esgeuluso moddion gras, oblegid nid oedd y fath gyfarfod wedi ei sefydlu, na'i gyhoeddi gan un awdurdod dwyfol na dynol. Ymgasglasai y dysgyblion eraill dan gynyrfiad y dygwyddiadau hynod oeddynt newydd gymeryd lle, a gallesid dysgwyl eu gweled oll yno. Mae yn bosibl fod yr anobaith a'r anghrediniaeth yr oedd meddwl Thomas wedi ei daflu iddo trwy farwolaeth ei Athraw, wedi gwrthweithio pob tuedd ynddo i fod yn bresenol gyda ei frodyr. Os oedd felly yn cadw draw oddiwrth ei gymdeithion dan yr ystyriaeth na ddeuai un daioni o'u cynulliad; fod y gobaith a goleddent yn achos eu Hathraw wedi ei lwyr ddymchwelyd, ac nad oedd y newydd am ei adgyfodiad ond chwedl ddisail yn ei olwg, gan wrthod tystiolaeth Pedr, ac eraill oeddynt wedi gweled yr Arglwydd; os felly yr oedd, cafodd am hyny ei geryddu yn drwm. Collodd gael golwg ar ei Feistr, pan oedd y lleill oll wedi ei weled, a chafodd am wythnos gyfan ei daflu i lawr ac i fyny ar donau anobaith, pan oedd ei frodyr yn mwynhau eu hunain yn hyfryd, mewn llawn sicrwydd fod eu Harglwydd wedi adgyfodi. Mae yn amlwg i'w gyf-

eillion wneyd ymdrech yn ystod yr wythnos i'w argyhoeddi, eithr yn gwbl ofer. Nid ydyw manylion yr ymdrafodaeth rhyngddynt ar gael; yr oll a gawn yn yr hanes yw ei benderfyniad ystyfnig ef, "Oni chaf weled yn ei ddwylaw ef ôl yr hoelion, a dodi fy mys yn ôl yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chredaf fi." Beth oedd yr achos o'r gwahaniaeth hwn rhwng Thomas a'i frodyr? Diau nad am fod adgyfodiad Crist yn wyrth yr oedd Thomas yn gwrthod credu, oblegyd buasai cael dyn yn gwrthod credu gwyrth y pryd hwnw mor hynod a dyn a gredai fod gwyrthiau yn cael eu cyflawni y dyddiau hyn. Nid natur wyrthiol yr amgylchiad, ond natur eu dysgwyliadau hwy mewn perthynas i'w Hathraw yn y dyfodol, oedd yn peri anhawsder iddo gredu. Oddi mewn, yn hytrach nag oddi allan, yr oedd achos ei anghrediniaeth. Yr oedd Didymus yn rhagori mewn anghrediniaeth ar y lleill oll. Gwrthodai y dysgyblion eraill gredu ar dystiolaeth y gwragedd duwiol o Galilea, mae yn wir; ond credodd rhai o honynt, a siglwyd anghrediniaeth y lleill pan y dywedodd Pedr iddo ef weled yr Iesu yn fyw, ac iddo ymddyddan ag ef. Eithr ni chredai Thomas dystiolaeth Pedr, yr hon a gadarnheid gan eiddo y ddau o Emmaus, na thystiolaeth yr holl gynulliad. Eto tybiwn yn sicr y byddai yn gam â Thomas, ac â'r gwirionedd, briodoli ei gyndynrwydd hwn i'w natur ddiserch a hunanol. Beth bynag oedd gwreiddyn ei anghrediniaeth, ystyriwn mai nid difaterwch ei feddwl am ei Arglwydd ydoedd. Dengys yr hanes am drafodaeth yr Iesu â'i ddysgyblion yn Bethabara, pan ddywedodd yr Arglwydd, ar ol derbyn cenad Mair o Bethania, "Awn i Judea," ac yr atebodd

Thomas, " Awn ninau, fel y byddom feirw gydag ef," ei fod yn meddu ar galon gynes, a llwyr ymlyniad wrth ei Arglwydd hyd angau, os byddai galw am hyny. Yr oedd Thomas felly yn llawn mor gywir canlynwr i'w Arglwydd a'r gwr goreu o honynt, ond dygwyddodd yn dra anhapus iddo ef ei hun, nad oedd yn yr ystafell yn amser ymweliad cyntaf yr Arglwydd. Cyfaddefai y lleill yn ngwyneb dadl Thomas, iddynt dybied oll ar y cyntaf mai ysbryd oedd, ond iddynt ddeall a chredu yn amgen ar ol hyny. Cawsant hwy oll weled drostynt eu hunain, a phaham y ceisient ganddo ef gredu heb weled? Yr oedd yma ar ran Thomas gilio yn ol ar hunanoldeb i raddau, a hwythau yn gwasgu yn galed arno, yr hyn a barai iddo gilio yn ol fwy-fwy, nes o'r diwedd iddo ddywedyd yn ystyfnig, " Oni chaf fi weled ôl yr hoelion, ni chredaf fi."

Er hyny prin y credwn ei fod yn hollol anghredinol. Modd bynag, wele yntau yn y cyfarfod nesaf, yn mhen wythnos. Arwydd dda am Thomas oedd hyn. Yr oedd Thomas yn hiraethu am ei Athraw anwyl gymaint a neb o honynt. Wedi i'r frawdoliaeth ddyfod oll yn nghyd, a Didymus gyda hwynt, ar hwyr yr wythfed dydd, wele yr Arglwydd yn dod i mewn, fel y waith gyntaf, a'r drysau yn nghauad; ac wedi eu cyfarch oll, gan ddywedyd, " Tangnefedd i chwi," trodd at Thomas, a dywedodd, " Moes yma dy fys, a gwel fy nwylaw, ac estyn dy law a dod yn fy ystlys, ac na fydd anghredadyn, ond credadyn." Gwyddai Thomas yn dda nad oedd neb o'r dysgyblion wedi gweled yr Iesu i ddweyd ei hanes wrtho, ac nad allasai neb ond ei Athraw hollwybodol siarad felly. Ciliodd pob peth tebyg i amheuaeth a chyndynrwydd o'r golwg ar unwaith.

Nid yw yn ymddangos ei fod ef, mwy na'i frodyr, wedi rhoddi ei fys yn ôl yr hoelion, er i'w Arglwydd ei wahodd i wneyd. Yr oedd gweled ei wyneb hawddgar a chlywed y llais a hoffai gymaint, yn llawn ddigon. Meddai Thomas yn awr ffydd gliriach na neb arall, feddyliem, yn yr ystafell. "Fy Arglwydd a'm Duw," meddai. Gwelai yn ei Arglwydd a'i Athraw y Jehofa anfeidrol yn gwisgo cnawd. "Am i ti fy ngweled, Thomas, y credaist: bendigedig yw y rhai ni welsant ac a gredasant;" dyna gerydd tyner yr Iesu iddo. Mae yma, yn ddiau, amnaid eglur i'r rhai sydd yn bugeilio eglwys Crist, pa fodd i ymdrin â'r sawl fyddont yn ngafael ofnau ac amheuaeth o barth i wirioneddau mawrion Cristionogaeth. Darfu i'r Athraw da ei drafod mewn cariad, gan ymostwng i delerau afresymol ei ddysgybl; ond wrth wneyd hyny, yr oedd yn ei lwyr enill i fod yn eiddo iddo ei hun mwyach.

Dywedai yr Iesu yn yr oruwch-ystafell, y nos y bradychwyd ef, "Wedi fy adgyfodi, mi a âf o'ch blaen chwi i Galilea." Dywedai yr angel wrth y gwragedd a ddaethant i edrych y bedd foreu ei adgyfodiad, "Ewch ar ffrwst a dywedwch i'w ddysgyblion gyfodi o hono o feirw; ac wele, y mae efe yn myned o'ch blaen chwi i Galilea." Drachefn, dywedai yr Arglwydd ei hun wrth y gwragedd, "Nac ofnwch, ewch a dywedwch i'm brodyr, fel yr elont i Galilea, ac yno y'm gwelant i." Gallesid dysgwyl, oddiwrth hyn, y buasai y dysgyblion yn gadael Jerusalem, ac yn ddioedi yn myned i fyny yno. Ond dichon nad oedd yn ddiogel iddynt adael y ddinas yn ystod yr wyl, rhag cynyrfu digofaint eu cydgenedl. Gan hyny arosasant nes bod gwyl y Pasg drosodd, ac mae yn

eglur fod yr oediad hwn yn ol ewyllys eu Harglwydd, gan iddo ymddangos iddynt ddwy waith yn ystod yr amser hwn. Efallai mai yn Galilea yn unig y gallesid casglu yn nghyd gynulleidfa o'i ganlynwyr. Hefyd yr oedd y lle yn fanteisiol i'r fath gynulliad—yn gwbl ddiogel rhag erlidwyr. Hwyrach hefyd na buasai yn gyfleus, nac yn ddiogel, i'r dysgyblion aros yr holl wythnosau hyn yn y ddinas fawr, heb un gorchwyl na moddion cynaliaeth; eithr nid oeddynt ychwaith i aros o amgylch eu hen gartref yn hir, oblegid yn Jerusalem yr oedd eu gwaith mawr o gyhoeddi yr efengyl i gael ei ddechreu.

Wedi myned i fyny i Galilea, yr oedd saith o honynt un prydnawn gyda eu gilydd ar lan môr Tiberias. Pa un a oeddynt yn bwriadu gafael yn eu hen gelfyddyd ai peidio, sydd ansicr; ond yr oedd yn brydnawn mor fanteisiol o ran ymddangosiad, y nos, sef yr adeg fwyaf manteisiol i bysgota, yn nesau, a'r hen fadau a'r rhwydi gerllaw, fel yr anesmwythodd Pedr aflonydd, a dywedodd, "Yr wyf fi yn myned i bysgota" "Yr ydym ni yn dyfod gyda thi," oedd yr ateb parod. O ran y dysgyblion, ymddengys y cyfan megys yn ddamweiniol; ond gallwn synied fod llaw anweledig iddynt hwy yn eu gwylio, sef llaw yr hwn safai ar y lan boreu dranoeth, yn eu dysgwyl i dir. Yr oedd y seith-wyr hyn yn adnabod y morlyn yn dda, ond er eu gwybodaeth a'u medrusrwydd, methasant trwy wyliadwriaethau y nos ddal dim; ac ar wawriad y boreu, cawsant eu hunain yn flin a siomedig, o fewn rhyw ganllath i dir, pryd y canfyddent ddyn ar y lan. Gallasai, yn ol dim a ymddangosai iddynt hwy, fod yn un o breswylwyr y fro, wedi dod yno, hwyrach,

gyda'r amcan o brynu rhan o'u helfa. Beth bynag, ni ddarfu ei weled yno gynyrfu eu cywreingarwch o gwbl. Galwodd yr Iesu arnynt, "O blant, a oes genych ddim bwyd?" Hwythau a atebasant, "Nac oes." Dywedodd yntau wrthynt, "Bwriwch y rhwyd y tu dehau i'r llong, a chwi a gewch." Dichon eu bod braidd yn synu at y fath amnaid oddiwrth ddyn dyeithr, ond tebygol iddynt feddwl ei fod oddiar y lan yn gweled rhyw arwydd fod pysgod yn chwareu yn y dwfr y tu dehau iddynt, yr hyn nid oeddynt wedi ei ganfod. Gwnaethant yn ol y cais, a buan y canfuant y fantais o hyny, wrth weled eu rhwyd yn llawn o bysgod, yr hyn, o bobpeth, oedd yn lloni calon pysgotwyr. Tywynodd y syniad i feddwl Ioan mai ei Feistr ydoedd, a dywedodd wrth Pedr, "Yr Arglwydd yw." Mewn amrantiad yr oedd Pedr yn y dwfr, ac yn ymwneyd am y lan tuag ato. Gwelsant yn fuan mai nid eisiau pysgod a barai i'r Arglwydd roddi yr archiad iddynt, oblegid cawsant dân o farwor wedi ei barotoi, a physgod wedi eu dodi arno, a bara. Hon, medd Ioan, oedd y drydedd waith iddo ymddangos ar ol ei adgyfodiad, sef y drydedd waith i nifer gyda eu gilydd. Yr oedd yr Arglwydd Iesu, yn nechreu ei weinidogaeth, wedi tynu tri o leiaf ar ei ol trwy wyrth gyffelyb i hon. Dywedodd y pryd hwnw, "Deuwch ar fy ol i, a mi a'ch gwnaf yn bysgotwyr dynion," ac yr oedd y wyrth hon yn cadarnhau hono, ac megys yn adnewyddiad o'r comisiwn mawr. Gellir sylwi hefyd yma ddarfod i'r Iesu holi Pedr, ac mewn ystyr, ei ail roddi yn ei swydd fel apostol. Yr oedd megys yn newid ei swydd o'r pysgotwr i'r bugail. Gorchwyl mawr y pysgotwr ydyw cael y pysgod i'r rhwyd, a

thynu hono i dir; dwyn pechaduriaid at Grist a'u gadael yn ei freichiau – drychfeddwl prydferth, ond cyfyng am swydd gweinidog yr efengyl. Mae y bugail yn arlun llawer mwy llawn o wahanol rwymedigaethau gwr Duw, i arolygu, arwain, gofalu am, amddiffyn, a phorthi y praidd. Mae hyn yn ddyledswydd hefyd ar bob Cristion, pob aelod o eglwys Dduw, i gynorthwyo a gwneyd a allo yn y gwaith, "Tithau, pan y'th droer, cadarnha dy frodyr," meddai yr Iesu wrth Pedr cyn ei godwm. Ac felly y wers a gafodd, a'r driniaeth a dderbyniodd oddiar law y pen bugail oedd i fod yn gynllun teg iddo o waith y swydd. Yr oedd gweddi ei Arglwydd drosto, y rhybudd, yr edrychiad o gariad yn y llys, cenadwri yr angel ato, ymweliad dirgelaidd ei Arglwydd ag ef ddydd ei adgyfodiad, yn nghyda'r ymddyddan hwn ar lan môr Genesaret, oll yn cyfeirio at yr un addysg i Pedr. A chyda'r fath bryder, tiriondeb, a chydymdeimlad, ag y bu ef ei hun yn wrthddrych o honynt, yr oedd yntau i ymddwyn tuag at eraill yn y cyffelyb amgylchiadau.

Cyn gadael y ddaear, ewyllysiai y Duw-ddyn ymddangos i gynifer o'i ganlynwyr ar unwaith ag a allai ddod yn nghyd i'r un lle. Gan Paul y cawn yr hanes hwn, ac yn Galilea, fel yr awgrymwyd, yr oedd y man mwyaf manteisiol i hyny. Chwe' ugain ydoedd y nifer a allai Jerusalem gasglu yn nghyd, ac o herwydd hyn y rhoddir cymaint o bwys ar Galilea. O angenrheidrwydd, yr oedd y lle a'r amser i gael ei benodi gan yr Arglwydd ei hun, a'r hysbysrwydd o hyn i gael ei anfon i bob man lle yr oedd ei ganlynwyr yn byw. Gallwn synied y fath bryder a barai y rhybudd hwn yn mynwesau y rhai oeddynt yn caru yr Arglwydd

Iesu. O'r diwedd gwawriodd y dydd—gwelid y gwahoddedigion yn cyfeirio tua'r fan, a'r apostolion yno i'w derbyn. Gallwn dybio eu bod yn adrodd wrth eu gilydd am y pethau rhyfedd a gymerasant le ar ol yr adgyfodiad, a diau fod syniadau newyddion am y croeshoeliedig yn cyfodi mewn llawer mynwes. Yr oeddynt eisoes wedi credu ei fod yn broffwyd mawr, ond os oedd y cwbl a glywent yn wirionedd, rhaid oedd iddynt gredu ei fod yn llawer mwy na phroffwyd. Yr oedd ganddynt hanes am un neu ddau wedi dianc o afael angau, ond neb wedi sefyll brwydr ag ef a'i orchfygu. Credai lluaws mai efe oedd y Messiah, eto yr oedd Messiah i gyraedd i'w orsedd trwy ddyoddef yn syniad pur newydd iddynt. Diau y dywedai y dysgyblion wrthynt am y modd yr agorasai eu deall hwythau i ganfod ystyr newydd hollol i'r gwahanol broffwydoliaethau am dano ef ei hun. Y fath syniadau, teimladau, ac ymddyddanion raid fod yn mysg y pum' cant pan yn dysgwyl dyfodiad eu Harglwydd ar y mynydd.

O'r diwedd wele ef yn gwneyd ei ymddangosiad. Pa un ai yn eu canol yn ddisymwth, neu ynte a ddynesodd atynt yn araf ar hyd ael neu dros ben y bryn, nis gwyddom. Pan ddaeth, mae'n sicr iddynt ei addoli—rhai, efallai, yn sefyll gyda dwylaw plethedig, eraill yn plygu y glin; rhai, fel Thomas, gyda meddyliau goleuedig; eraill mewn synedigaeth diffurf, eto eu haddoliad yn gywir. Ond rhai a amheuasant; y rhai a'i gwelent am y waith gyntaf ar ol ei adgyfodiad, efallai, oblegid diau fod rhyw gyfnewidiad rhyfedd a mawreddig ar yr olwg gyntaf yn ei wedd. Yna dywedodd yr Arglwydd yn eu clyw oll, "Rhoddwyd i

mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." Pa mor uchel bynag oedd eu syniadau am dano o'r blaen, yr oedd hyn yn mhell uwchlaw pob syniad o'r eiddynt. Gwyddent o'r blaen ei fod yn meddu awdurdod ar y gwyntoedd a'r môr, iĕ, ar fyd yr ysbrydoedd; credent ei fod yn meddu digon o allu i osod i fyny ei deyrnas yn wyneb pob gwrthwynebiadau, eithr nid oeddynt oll yn ddiau a'u meddyliau yn barod i'w glywed yn honi pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear.

Awgrymwyd o'r blaen mai dyben ei arosiad ddeugain niwrnod yn y byd, ydoedd, graddol ddyrchafu meddyliau ei ddysgyblion, a'u puro oddiwrth syniadau anmhriodol am dano fel person dwyfol a dynol. Daw hyn i'r golwg yn fwy amlwg eto yn y fan hon. Diau mai nid at y gallu a'r awdurdod priodol iddo fel person dwyfol y cyfeirir yma, oblegid siarada am "bob awdurdod" fel wedi ei *roddi* iddo gan un arall—gan yr un yr oedd ei ddeddf wedi cael ei hanrhydeddu ganddo. Gwerth a gwobr ei ryfedd ddyoddefiadau ydoedd, ac oddi ar y safle yma y mae yn rhoddi comisiwn mawr i'w Apostolion, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur." Dyma beth newydd ar y ddaear, ond nid mwy mewn newydd-deb nag mewn ardderchawgrwydd. Ni chynygiwyd erioed at y fath beth o'r blaen, sef un grefydd, a hono yn gymwys i bob cenedl dan y nef. Ni feddyliodd neb o'r blaen fod hyny yn bosibl. Duwiau lleol a chrefyddau lleol ydoedd y rhai enwocaf o eiddo y byd paganaidd. Gwir fod rhai o'r athronwyr paganaidd yn codi ychydig uwchlaw coelgrefyddau eu hoes a'u gwlad, eithr bychan iawn oedd eu nifer. Yr oedd Judea raddau yn wahanol; yr oedd ei phroffwydi

wedi taflu daroganau allan y byddai i'r holl genedloedd gael eu casglu yn nghyd o dan un tywysog mawr, eithr camddeallid hyn yn gyffredin. Ond wele un o feibion y genedl, heb fantais dŷsg na dylanwad daearol, yn cyhoeddi egwyddorion crefydd ag oedd i gofleidio yr holl deulu dynol. A phe na buasai yr Iesu o Nazareth yn gwneyd dim ond rhoddi genedigaeth i'r fath syniad, sef fod yn ddymunol ac yn bosibl i gasglu yr holl deulu dynol dan un faner grefyddol—"un Arglwydd, un ffydd ac un bedydd," heb wrthod na diystyru neb, tlawd na chyfoethog, ond derbyn yr ethnig anwybodus gyda yr un croesaw a'r athronydd doethaf---pe na wnaethai ddim ond hyn, buasai ei enw yn uwch na neb ddaethai i'r ddaear o'i flaen. Ond gwnaeth ef fwy na hyn. Dadguddiodd egwyddor ag oedd ar unwaith yn ddigonol i ddwyn hyn oddiamgylch, fel na bu ac na bydd eisiau na chyfnewidiad na gwelliant arni byth; ac y mae y dydd yn nesau pan y bydd wedi llwyr gyflawni yr hyn a fwriadodd iddi ei wneyd, sef dwyn y byd i gofleidio un grefydd, a gwneyd yr holl deulu yn frodyr anwyl, yn lle bod yn elynion yn dinystrio y naill y llall. Rhwymyn mawr yr undeb hwn fydd cariad at y Pen mawr, a hwnw yn ymledu at bob un o'r aelodau, hyd yn nod y gwanaf, a'r distadlaf. Mae y cariad hwn i fod yn egwyddor effro, weithgar, fel na bydd iddo na diffygio na marw.

Y mae genym hanes am ddeg o ymddangosiadau yr Arglwydd i'w ddysgyblion ar ol ei adgyfodiad, sef 1. I'r gwragedd duwiol o Galilea ar eu dychweliad oddiwrth y bedd. 2. I Mair Magdalen. Sonir am hwn gan Marc fel yr ymddangosiad cyntaf, ond mae yn eglur mai y cyntaf o'r tri y sonia efe am danynt a fedd-

ylir ganddo, ac nid y cyntaf oll. 3. I Pedr. Nid oes genym ddim manylion am yr ymddangosiad hwn. Teifl yr ysgrifenydd sanctaidd orchudd drosto. Yr oedd gan Pedr gyfrif difrifol i'w roddi drosto ei hun, ac nid oedd neb i fod yn bresenol ond efe a'i Arglwydd. 4. I'r ddau ddysgybl ar y ffordd i Emmaus. 5. I'r dysgyblion yn nghyd ag amryw ereill hwyr dydd ei adgyfodiad, pryd yr oedd Thomas yn absenol. 6. I'r dysgyblion ac ereill yn mhen wythnos, a Thomas yn bresenol. 7. I'r saith dysgybl ar lan Mor Tiberias, pryd yr ail-sefydlwyd Pedr yn ei swydd. 8. I'r pum' cant ar fynydd Galilea. 9. I Iago, am yr hyn ni buasai genym un hanes oni buasai fod Paul yn gwneyd coffa o hono yn ei lythyr at y Corinthiaid. Barna rhai fod hwn yn un o amryw o ymweliadau ein Harglwydd â phersonau unigol, hanes y rhai a adawwyd allan gan yr efengylwyr. Croniclwyd ganddynt hwy gynifer ag oedd yn angenrheidiol i brofi ei adgyfodiad. 10. I'r un-ar-ddeg yn unig ar fynydd yr Olewydd, wrth adael y ddaear.

Gan fod ymddangosiadau y Duw-ddyn, fel y soniwyd, mor ychydig, paham y treuliai gymaint o amser yn anweledig ac heb roddi ei gymdeithas i neb dynion? Ar ryw ystyr y mae gofyniad o'r fath yn ofer, oblegid nis gellir dysgwyl atebiad llawn iddo. Nid yw yr efengylwyr yn hysbysu beth oedd ei amcan, ond fel y sylwyd eisoes, mae yr ysbaid hwn o amser wedi ei hynodi yn yr hanes ysgrythyrol amryw weithiau yn flaenorol i hyn. Ac mae yn bur naturiol gofyn a oedd yn bosibl ei fod yn gyffelyb i Moses pan yr ymneillduodd ef ddeugain niwrnod o blith dynion, fel rhagbarotoad difrifol i gyhoeddiad y ddeddf; neu yn debyg i

Elias yr hwn a gymerwyd ddeugain niwrnod i'r anialwch fel rhagbarotoad i adferiad y ddeddf yn Israel? Neu ynte a allasai fod rhyw gyffelybrwydd yn yr adeg hon i'r amser a bu efe ei hun yn yr anialwch, yr un nifer o ddyddiau, fel rhagbarotoad i'r gwaith mawr a ddybenodd yn ei angau ar y groes? Gallasai fod angen rhagbarotoad gogyfer a'i esgyniad a'i ymgymeriad a'i swydd fel eiriolwr dros ei bobl yn y nef. Wedi dywedyd cymaint a hyn er cynyrfu y meddwl i fyfyrdod, awn heibio i fater sydd wedi ei amdoi mewn dirgelwch, at ymddangosiad olaf ein Gwaredwr cyn iddo adael y byd.

Cawn fod y dysgyblion wedi dychwelyd o Galilea, ac yn aros yn Jerusalem. A dderbyniasent orchymyn i hyn nis gwyddom, ond yr oedd gwyl y Pentecost yn awr yn nesau, pryd y byddai galwad am eu presenoldeb yn y ddinas. Ni ddywedir pa fodd yr ymddangosodd ar y cyntaf iddynt y tro hwn; mae yn bosibl iddo eu cyfarfod yn eu hystafell, yr hon oedd wedi ei chysegru trwy ei ymweliadau blaenorol. Mae yn amlwg feddyliem ei bod yn ngoleu haul, ac ar awr gynarol o'r dydd. Gallwn yn naturiol gasglu oddiwrth Luc 24: 44, 47, mai adnewyddiad o, ac ychwanegiad at, y cyfarwyddiadau a roddasai i'r ddau ddysgybl ar y ffordd i Emmaus, ydoedd swm ei ymadroddion. Perthyna yr adnodau hyn feddyliem i'r dydd olaf o'i arosiad yn y byd, ac nid y nos gyntaf ar ol ei adgyfodiad, oblegid ni buasai y gorchymyn i beidio gadael Jerusalem yn gyson ag amgylchiad y nos hono. Diwedda yr adran hono o'r hanes gydag adnod 45, ac nid gydag adnod 48. Cymerai y Duw-ddyn y gofal mwyaf ar ol ei adgyfodiad i egluro proffwydol-

iaethau yr Hen Destament am dano ei hun. Dyma, yn fwy na dim arall, oedd y mater y safai arno. Dengys hyn y gwerth mawr o'r tystiolaethau hyn, a'r fantais i ni o'u deall.

Wedi gorphen gyda'r addysgiadau hyn gorchymynai iddynt gyhoeddi y newyddion da, gan ddechreu yn Jerusalem, Judea, a Samaria. Beth yw yr addysg naturiol i ni oddiwrth hyn? Atebwn, mai fod i bob ymdrechion Cristionogol ddechreu yn y canolbwynt, ac oddi yno ymledu i lanw y cylch—yn y galon yn gyntaf, yna yn y teulu gartref, wedi hyny yn ein cymydogaeth a'n gwlad, yna i'r byd mawr. Y mae esgeuluso cartref a gwneyd ymdrech i anfon cenadon i bellder byd, yn gwyrdroi y cynllun a roddodd y Duwddyn i'w ganlynwyr.

Ond awn yn mlaen i ddylyn y cwmni i fynydd yr Olewydd. Arweiniodd yr Arglwydd ei ddysgyblion allan o Jerusalem; rhodiai ef a hwythau heolydd y ddinas yn ngoleu dydd. Wele yr hwn a fuasai farw yn hoeliedig ar y groes wrth fur y ddinas, ychydig wythnosau yn flaenorol, yn awr gyda ei gyfeillion fel arferol! Ond a ydoedd yn weledig i bawb? Ein syniad ydyw nad oedd, ac na welodd neb ond ei garedigion ef ar ol ei adgyfodiad o feirw. Yr oedd y cwmni yn awr ar y llwybr fuont yn gerdded y nos y bradychwyd ef, ac aethant yn mlaen nes dod yn agos i Bethania, yno safasant, gan wasgu oll ^ gylch eu Harglwydd. Gwyddent fel Eliseus am Elias, ei fod ar eu gadael. Cododd yntau ei ddwylaw i'w bendithio, a thra yn y weithred hono, esgynodd yn araf o'u canol tua'r nef. Collodd y ddaear ei hatdyniad, a methai ei ddal yn hwy. Fel y pellhâi oddiwrthynt

darfyddai ei lais yn yr awel, ac mewn dystawrwydd syn craffent ar ei ol. Mor syml, eto mor fawreddog! Dim cynwrf yn elfenau natur, dim cerbyd tanllyd i gynyrfu ac aflonyddu meddyliau ei ddysgyblion hyd y diwedd! Parhaent i edrych nes oedd y cwbl drosodd. Pwy all ddweyd i ni, wedi iddo dori ei gysylltiad a'r ddaear, ac i'r cwmwl goleu ei gario can belled ag y gallai cwmwl nofio, hanes y rhan arall o'i daith i'r orsedd? Gallwn synied fod lluoedd maith y nef yn ei ddysgwyl. Naturiol iawn i ni, wedi siarad cymaint am dano, a chymdeithasu cymaint ag ef yn yr hanes, droi ein llygaid i fyny i edrych ar ei dderbyniad yn y llys. Disgynai llais cerddorol, mwyn ac esmwyth, fel swn dyfroedd, ar glustiau yr un-ar-ddeg, ac weleddau wr mewn gwisgoedd gwynion yn sefyll gerllaw iddynt. "Chwi wyr o Galilea," meddynt, "paham y sefwch yn edrych tu a'r nef? Yr Iesu hwn a gymerwyd i fyny oddiwrthych i'r nef, a ddaw felly yn un modd ag y gwelwch ef yn myned i'r nef." Cyfeiriad eglur, sicr, at ei ddyfodiad eto i farnu y byd yn y dydd olaf.

Wedi addoli, dychwelodd yr un-ar-ddeg i'r ddinas gyda llawenydd mawr. Yr oedd tristwch yr ymadawiad yn cael ei lyncu gan obaith o'i ddychweliad. A ydym ni, ddarllenydd, mewn cyflwr y gallwn edrych yn mlaen gyda gobaith at ail ddyfodiad Mab y dyn?

DIWEDD.

